*Bedydd Plant er Nefoedd:*

NEU,

# DRAETHAWD

AM

Natur a Diben

# BEDYDD.

Yn profi,

Trwy ddeuddeg o Resymmau Scrythuraidd y dylid bedyddio plant y ffyddloniaid.

---

O *waith* JAMES OWEN *Gweinidog yr Efengyl.*

---

*Tanto magis pro infantibus loqui debemus, quanto minùs ipsi pro se loqui possunt.* Aug.

Τὸ *βάπτισμα σταυρός ἐστι, ὁ τοίνυν δεύτερον ἑαυτὸν βαπτίζων πάλιν αὐτὸν σταυροῖ.* Chrys. *in* Heb. 6. 6.

*Act.* 16. 15. ܘܥܡܕܬ ܗܝ ܘܒܢܝ ܒܝܬܗ hynny yw, *bedyddiwyd hi a phlant ei thŷ.* v. 33. ܥܡܕ ܗܘ ܘܒܢܝ ܒܝܬܗ ܟܠܗܘܢ *bedyddiwyd ef, a holl blant ei dŷ.*

Printiedic yn Llundain gan F. Collins. 1693.

*At y gwir barchedic Mr.* Samuel Jones *Gweinidog yr Efengyl, yn Shir Forgannwg.*

EIddo chwi yw'r llyfr hwn ar amryw achosion, eithr yn enwedigol o herwydd i chwi fy annog trwy daer ymbil i amddeffyn y gwirionedd presennol, sydd yn dal allan hawl plant bychain i ragorfreintiau y Cyfammod Newydd. Gwirionedd wedi ei oruwch-adeiliadu ar sail y prophwydi ar Apostolion, yn gyfoed ar Cyfammod o ras, yr hwn a wnaethpwyd âg *Adda ac ai hâd.* Gwirionedd a draddodwyd cyn y gyfraith, a amlygwyd tan y gyfraith, ac a siccrhawyd tan orchwyliaeth yr Efengyl.

Gwirionedd a dderbyniwyd yn gyffredinol yn y brif eglwys Apostolaidd, ac a barhaodd yn ddiwrthyneb hyd yr oes ddiweddaf. Gwirionedd yr hwn yw sylfaen jechydwriaeth yr hanner mwyaf o eglwys Dduw. Canys os yw plant y ffyddloniaid allan o Gyfammod, y maent *heb Dduw ac heb obaith.* Diammeu ydyw fod y Cyfammod Cyntaf yn eu condemnio, o herwydd Eph. 2. 12.

 wydd

wydd euogrwydd y pechod gwreiddiol, ac os heb hawl y maent i'r Cyfammod gras, y mae digofaint Duw yn aros arnynt. Eithr na atto Duw i ni gybied fod mwy o rinwedd yn yr Adda cyntaf i gondemnio, nac sydd yn yr ail-Adda i gadw: pe safasei yr Adda cyntaf, *nyni a'n plant* a safasem hefyd, a ydyw ffydd yn yr Ail Adda yn gwneuthur cyflwr ein plant ni yn waeth nac y buasei ef trwy ufudd-dod yr Adda cyntaf? Bu *galar, ac wylo-*

Mat. 2.18. *fain, ac ochain mawr yn Rama, Rachel yn wylo am ei phlant, ac ni fynnei ei chyssuro, am nad oeddent?* Onid oes achos mwy i holl eglwysi Duw ar y ddaiar i alaru âg wylofain tost a chwerw, pe bae un hanner o honynt gwedi eu torri oddiwrth Gyfammod jechydwriaeth? Eithr bendigedic fyddo y Duw anghyfnewidiol a geir-wir, y mae cadarn sail ei Gyfammod ef yn sefyll, ac ni all holl nerthodd y tywyllwch ei dadymchwelyd.

Sir, Fy ewyllys am dymuniad i oedd ar i chwi, yr hwn y mae gennych *dafod y dyscedic*, i fod yn Ddadleuwr cryf tros y gweiniaid hynny y rhai ni allant ddadleu trostynt eu hunain,

nain, ond trwy wylofain a dagrau. *Dywedais, dyddiau a draethant, a lliaws o flynyddoedd a ddyscant ddoethineb, wele, disgwyliais wrth eich geiriau, clust-ymwrandewais am eich rhesymmau*; eithr pan na allech chwi (o herwydd rhesymmau nad rhaid eu henwi) gymmeryd y gwaith yn llaw, ac nid oedd arall ai cymmerei, *wedi disgwylo bonof*, ymroais yn ol mesur y ddawn a dderbynniais gan yr Arglwydd i sefyll ar yr adwy, er amddeffyn y Cyfammod tragywyddawl a wnaeth Duw *â'r ffyddloniaid, ac i hâd. Credais, am hynny y lleferais.* Mawr yw'r gwirionedd, ac efe a orfydd. Mae'r un gorchymmyn yn ein rhwymo *i gyflawni*, ac *i amddeffyn* addunedau ein bedydd. *Tadau* ydym, ac y mae cyfraith natur yn dyscu i ni amddeffyn meddiannau ein plant: *Goruchwilwyr* ydym ar dŷ Dduw, ac ni a ddylem roddi achles ir egwan ar gorthrymmedic: *Bugeiliaid* ydym, a'n dyledswydd yw gofalu am wyn y praidd, rhag i neb eu bwrw allan or gorlan, ai gwneuthur yn ysclyfaeth ir *llew rhuadwy. Adeiladwyr*, a *milwyr* ydym, a rhaid i ni adeiladu muriau Caersalem, gan weithio *âg un llaw yn y gwaith, ac â'r llaw arall yn dal arf*, ac nid oes i ni wrthod y meini bychain hynny, a dderbyniodd y *Tad* ir hên adeiliad, a dderbyniodd *y mab* ir adeiliad newydd, ac a dderbynnir gan *yr*

Job 32. 7, 11.

2 Cor. 4. 13.

Neh. 4 17.

Mat. 19. 14

 *ys-*

Lu. 1. 44. *yspryd glan*, yr hwn sydd yn eu gwneuthur yn *feini bywiol* or Gaersalem uchod.
Lev. 14. 40. Or meini hyn (a deflir gan rai *allan or ddinas i le aflan,*) y mae Duw yn *codi*
Mat. 3. 9. *plant i Abraham.*

Fel na byddo i mi chwanegu tersyn iu llythr, yr wyf yn attolwg arnoch ar gydymdrech o honoch gyda mysi mewn gweddiau, ar i Dduw sendithio y llyfr hwn, i ddyfod ar cyfeiliornus ir jawn, i adeiladu'r gwan, i sefydlu'r amheyus, ac i ddwyn ar gof i bawb addunedau ei bedydd.

Rhynged bodd i chwi, wr mwyn, dderbyn y rhodd wael hon megis tystiolaeth ddiochgar o'm rhwymedigaeth i chwi; ac os bydd y traethawd hwn yn gymmeradwy i'ch barn fanwl ddi-duedd chwi, ni all lai na bod felly i bawb or doeth ar dyscedic. Duw a dywallto arnoch fesur dauddyblyg oi yspryd, ac a fendithio eich llafur yn *cyflawni* ac yn *cynnal* y weinidogaeth; felly y gweddia

eich brawd anheilwng
yn yr Efengyl,

*Llundain*, Hydref 4. 1693.

*James Owen.*

Y

# Y Rhagymadrodd.

Y Cymro hawddgar!

Y *Llyfr bychan hwn a ddwyn ar gof iti dy Addunedau cyntaf, ſef addunedau dy fedydd. Tros y rhain yr ydwyf yn dadleu. Mi a fernais mae angheurhaid oedd i mi ſcrifennu attat ith ſicrhau yn y gwirionedd preſennol. Mae Duw yn ein bedydd yn ein* tywys ger llaw y dyfroedd tawel, *pechod yw i un awel dymeſtlog i chwythu arnynt, ai cyffroi i fod yn* ddyfroedd Maſſah a Meribah, *yn ddyfroedd* profedigaeth *a* chynnen. *Bedydd yw* dyfroedd meddiginiaethol y Gyſſegr, *pechod ydyw fod y cyfryw* archollion *yn ein plith y rhai nid yw rhinwedd y dyfroedd hyn yn eu* jachau.

*Y mae pedair o farnau gwahanol ynghylch bedydd.*

1. *Rhai a wadant fedydd dwfr yn gwbl, megis y* Sociniaid *ar* Quaquers, *a rhai eraill. Yn erbyn y rhai'n mi a broffais barhad bedydd dwfr, yn yr ail bennod or llyfr hwn.*

*2. Y mae eraill yn ammeu eu bedydd cyntaf, eithr nid ydynt yn ail fedyddio. Ni wn ni pa fodd y gallant iawn ddefnyddio y bedydd hwnnw, am ba un y maent yn ammeu a'i gwir fedydd ydyw. Os nid bedydd ydyw, pa ham nad ydynt yn ei adnewyddu, os gwir fedydd ydyw, pa ham y maent yn ei wrthwynebu.*

*3. Y mae eraill yn tybied na ddylid bedyddio neb nes iddynt gredu, ac am hynny y maent yn bedyddio drachefn y rhai a fedyddiwyd yn blant bychain.*

*4 Y mae eraill, sef y rhan fwyaf o wir Eglwys Dduw ar y Ddaiar, yn barnu fod gan blant y ffyddloniaid hawl sicer i fedydd yr Efengyl, o herwydd eu bod ynghyfammod Duw. Y farn hon sydd gyttun â'r scrythurau fel y dengys yn y llyfr hwn.*

*Mi a ddymunaf arnat, y Darllenydd ewyllysgar, i dderbyn yr hyfforddiadau a ganlyn. 1. Darllen y llyfr hwn ddwy waith drosto yn ddi-duedd, yn ddi-ragfarn, yn ystyriol, gydâg yspryd ymofyngar am y gwirionedd. Cais y* Dih. 2. 4. gwirionedd fel arian, chwilia am dano fel am dryssorau cuddiedic.

*2. Gweddia yn daer ar yr Arglwydd*

*i*

*i egor dy ddealltwriaeth, ac i dywallt arnat ti* yspryd y gwirionedd, ith dywys i bob gwirionedd. Jo. 16. 13

3. *Os mynni adnabod y gwirionedd, Cais yspryd issel ar ssaidd bunan-wadol. Yn y galon ostyngedig y presswylia yspryd y Goruchaf.*

4. *Gochel Zel anhymmerus. Zel, ac nid yn ol gwybodaeth, tân gwyllt ydyw, sydd yn difa eglwysi a gwledydd. Y Zel hon a Groeshoeliodd Christ, a laddodd ei Apostolion ef, tan enw* gwasanaeth i Dduw, *ac a fu yn achos o lawer o Erledigaethau yn eglwys Dduw.* Jean. 16. 2.

5. *Na ddiystyra dy Athrawon ffyddlon,* ufuddha iddynt ac ymddarostwng, oblegit y maent hwy yn gwilio tros dy enaid di, megis rhai a fydd raid iddynt roddi cyfrif. *Glŷn wrth weinidogaeth y cyfryw, trwy ba rai y derbyniaist fwya llesâd ith enaid.* Heb. 13 17

*Na chred bob drygair am dy weinidogion, ymwrthod âr tafod athrodgar. Edrych ar yr hwn a ddywedo ddrwg am ei gymmydog, megis cennad Diafol yn dyfod ith berswadio di i gasau dy gymmydog, dywed wrtho fel y dywedodd Christ wrth Petr,* Dôs yn fy ôl i Satan.

6. *Cais*

*6. Cais wybodaeth eglur, o sylfaenau'r grefydd Gristnogol. Mae rhai yn fawr eu Zel am yr Opiniwn hwn neu arall, megis pe bae sylwedd Crefydd yn gynnwysedic yntho, pan ydynt yn anwybodol o brif-wirioneddau'r grefydd Gristnogol.*

7. *Edrych ar blant bychain megis* rhannau oi rhieni naturiol, *a gynnwysir yn yr addewidion a wneir i rieni da, ac yn y bygythion a wneir i rieni drwg.* Exod. 20. 5. & 34. 7.

*Y mae plant yn wastad yn y scrythur* yn gyfrannoglon o bethau da ac o bethau drwg eu rhieni.

*Mae plant yn gyfrannogion.*

1. *O farnedigaethau eu rhieni.* Jer. 36. 31. Mi a ymwelaf âg ef, ac âi had am ei anwiredd. Jer. 22. 28. Ps. 21. 10. & 109. 9, 10. Deut. 28. 45, 46. 2 Bren. 5. 27. Isa. 14. 20. & 14 21. Darperwch laddfa iw feibion ef, am anwiredd eu tadau. Num. 14. 33. a'ch plant chwi—— a ddygant gosp eich putteindra chwi,

*Ac os ydynt gyfrannogion o farnedigaethau eu tadau, pa ham na allant fod yn gyfrannogion oi rhagorfreintiau hwynt?*

*hwynt? a ydyw ei* ddigofaint *ef yn helaethach nâ ei* drugaredd, *a ydyw ei* gyfiawnder *yn difethu yn helaethach na'i* ras *yn achub?*

2. *Diammeu ydyw fod plant yn gyfrannogion o ragorfreintiau eu rhieni.* Deut. 4. 37. O achos iddo garu dy dadau, am hynny y dewisodd ef eu had hwynt ar eu hol. *Gwel* Deut. 4. 40. Jer. 32. 38, 39. Dih. 11. 21. Deut. 30. 6——19. Ps. 102. 28. Dih. 20. 7. Isa. 44. 3.

8. *Dirnad helaethrwydd cyfammod Duw â'i bobl. Y mae ei gyfammod ef â hwynt, ac ai had. Fel hyn yr oedd y Cyfammod o ras a wnaeth Duw âg Adda*, Gen. 3. 15. & 4. 25. *ar Cyfammod a wnaeth ef â Noah*, Gen. 9 9. *âg Abraham*, Gen. 17. 7. *âg Isaac*, Gen. 28. 4. *ac â Jacob*, Gen, 35. 12. *yr un modd yr oedd ei gyfammod ef â Dafydd, ac âi had*, 2 Sam. 7. 12. & 22. 51. *yn y Cyfammod tragywyddawl hwn y llawenychodd ar ei wely angeu*, 2 Sam. 23. 5.

*Y mae'r prophwyd Efangylaidd yn rhag-ddywedyd y byddei'r Cyfammod gras or un helaethrwydd tan yr Efengyl, ac oedd ef or dechreuad. Esa.* 66 22.

Me-

Megis y saif ger fy mron y nefoedd newydd---felly y saif eich *had* chwi. *Ymae Cysammod Duw â had y ffyddloniaid mor ddisigl, ar nefoedd newydd ac ar ddaiar newydd. Fo saif y naill tra safo'r llall.* Gwel Esa. 61. 8, 9. ar 59. 21. ar 65. 17, 23.

9. *Deall y gwahaniaeth rhwng gorchwyliaeth y Cyfammod oddiallan, ar orchwyliaeth oddi fewn. Yr oedd holl had Abraham yn yr orchwyliaeth oddiallan, a fel y Cyfammod yn perthyn iddynt, eithr nid oedd yn yr orchwyliaeth oddifewn ond yr Etholedigion yn unig.* Rhuf. 9. 4---8.

10. *Ymddygwch yn gariadus ac yn addfwyn tuac at y rhai sydd yn erbyn bedydd plant. Mae llawer o honynt yn wir Gristnogion, sydd yn ofni'r Arglwydd, am hynny cerwch hwynt fel brodyr, ac mewn yspryd addfwynder a thynerwch amlygwch iddynt eu camgymmeriad. Na fyddwch chwerw tuac attynt, yspryd cariad yw yspryd yr Efengyl.*

Ystyriwch yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd, ar Arglwydd a roddo i chwi ddeall ymhob peth. *Amen.*

PEN.

# PEN. I.

*Am ystyriaeth y gair bedydd.*

FEL y mae 'r grefydd Gristnogol yn gwneuthur y corph ar enaid yn happus, felly yr ordeiniodd Duw i ragor freintlau 'r grefydd hon gyrhaeddyd y Corph a'r enaid. Mae yn darostwng i'n gwendid ni gan eglurhau pethau ysprydol trwy arwyddion corphorol. O herwydd pa ham ni wnaeth Duw er ioed gyfammod â Dyn heb arwyddion gweledig iw ganlyn.

Y cyfammod o weithredoedd a wnaeth Duw â dynol ryw yn nechreuad y greedigaeth a siccrhauwyd â dwy sel, sef pren y bywyd a phren gwybodaeth da a drwg, pren y bywyd i siccrhau gair yr addewid, pren gwybodaeth da a drwg i siccrhau gair y bwgwth. Yr oedd y naill i gyffroi *ffydd*, y llall i gyffroi *ofn*.

Yr oedd y cyfammod o ras ym hob gosodiad allan o hono ac arwyddion oddiallan yn perthyn iddo. Ac yr oedd y cwbl yn edrych at

Ghrist, megis cyfryngwr y cyfammod hwnnw. Yn yr hen orchwyliaeth o'r Cyfammod gras yr oedd *Enwaediad* ac *Oen y pasc*, ac amryw aberthau yn arwyddocau bendithion y Cyfammod. Amlhaodd Duw amryw arwyddion a Ceremoniau tan y gyfraith, y rhai oeddent gysgodau tywyll o bethau i ddyfod, wedi ei cyfaddasu i gyflwr bachgennaidd Eglwys Dduw, fel y dywed yr Apostl, *Pan oeddym feibgyn oeddem gaethion*
Gal. 4. 3. *tan wyddorion y byd.* Ond yn yr Orchwyliaeth newydd or Cyfammod Gras mae'r Cysgodau wedi diflannu o herwydd dyfod y sylwedd, *ac nid ydym mwyach tan athro.* Dirym-
Gal. 3. 25. mwyd gorchwyliaeth y ddeddf ar holl Ceremoniau a berthynent iddi, ac yn lle yr iau Drom honno yr *hon ni al-*
Act. 15. 10. *lodd ein tadau ni, na ninnau ei dwyn*, ordeiniodd Christ yn yr Efengyl iau ysgawn ac esmwyth, sef *bedydd a swpper yr Arglwydd.* Y ddau hyn yw unig Sacramentau yr Efengyl. Mae bedydd yn arwyddocau ein *genedigaeth ysprydol.* swper yr Arglwydd ein *cynhaliaeth a'n tyfiant ysprydol.* Yr ydym ni yr awrhon i sôn am fedydd.

Bedydd

Bedydd yn ol arwyddocâad y gair yw *golchiad*, am hynny ebe 'r Apostl, achubir ni *trwy olchiad yr adenedigaeth*, Felly y Troir y gair Βαπτισμοῖς, *Heb.* 9. 10. *Trwy amryw olchiadau*, yn ol y groeg, trwy amryw *fedyddiadau*, y rhai oeddent nid yn unig trwy ymdrochi tan ddwr, ond trwy daenellu dwr ar y rhai a olchwyd neu a fedyddiwyd, fel y dangos yr Apostl, *Heb.* 9. 19. *Efe a gymmerodd waed lloi a geifr, gydá dwr* ——— *ac ai taenellodd ar y llyfr ar bobl oll.* Yr hyn a alwodd yr Apostl *bedyddiadau* yn y 10 wers a elwir *taenelliad dwfr* yn y wers hon. *Tit.* 3.

Yr ydym yn darllen am 3 Math o fedydd yn y Testament newydd, y rhai a elwir bedyddiadau am yr achos hwn, fel y barn rhai, *Heb.* 6. 2.

1. Bedydd dwfr, yr hwn yw golchiad y cnawd i arwyddocau golchiad yr yspryd, am hynny ebe 'r Apostl Pedr, *Bedydd sydd yn ein hachub ninnau, nid bwrw ymmaith fudreddi y cnawd, eithr ymatteb cydwybod dda tuac at dduw trwy adgyfodiad Jesu Grist.* 1 *Pet.* 3. 21.

2. Bedydd tân, am y bedydd hwn y mae Joan fedyddiwr yn son,

Ghrist,megis cyfryngwr y cyfammod hwnnw. Yn yr hen orchwyliaeth o'r Cyfammod gras yr oedd *Enwaediad* ac *Oen y pasc*, ac amryw aberthau yn arwyddocau bendithion y Cyfammod. Amlhaodd Duw amryw arwyddion a Ceremoniau tan y gyfraith, y rhai oeddent gysgodau tywyll o bethau i ddyfod, wedi ei cyfaddasu i gyflwr bachgennaidd Eglwys Dduw, fel y dywed yr Apostl, *Pan oeddym fechgyn oeddem gaethion*
Gal. 4. 3. *tan wyddorion y byd.* Ond yn yr Orchwyliaeth newydd or Cyfammod Gras mae'r Cysgodau wedi diflannu o herwydd dyfod y sylwedd, *ac nid ydym mwyach tan athro.* Dirym-
Gal. 3. 25. mwyd gorchwyliaeth y ddeddf ar holl Ceremoniau a berthynent iddi, ac yn lle yr jau Drom honno yr *hon ni allodd ein tadau ni, na ninnau ei dwyn,*
Act. 15. 10. ordeiniodd Christ yn yr Efeugyl jau ysgawn ac esmwyth, fel *bedydd a swpper yr Arglwydd.* Y ddau hyn yw unig Sacramentau yr Efengyl. Mae bedydd yn arwyddocau ein *genedigaeth ysprydol.* swper yr Arglwydd ein *cynhaliaeth a'n tyfiant ysprydol.* Yr ydym ni yr awrhon i sôn am fedydd.

Bedydd

Bedydd yn ol arwyddocâad y gair
yw *golchiad*, am hynny ebe 'r Apoſtl,
achubir ni *trwy olchiad yr adenediga-* Tit. 3.
*eth*, Felly y Troir y gair Βαπτισμοῖς,
*Heb. 9. 10. Trwy amryw olchiadau*,
yn ol y groeg, trwy amryw *fedyddia-*
*dau*, yrhai oeddent nid yn unig trwy
ymdrochi tan ddwr, ond trwy dae-
nellu dwr ar y rhai a olchwyd neu a
ſedyddiwyd, ſel y dangos yr Apoſtl,
*Heb. 9. 19. Efe a gymmerodd waed*
*lloi a geifr, gydâ dwr* ——— *ac ai*
*taenellodd ar y llyfr ar bobl oll.* Yr hyn
a alwodd yr Apoſtl *bedyddiadau* yn y
10 wers a elwir *taenelliad dwfr* yn
y wers hon.

Yr ydym yn darllen am 3 Math o
fedydd yn y Teſtament newydd, y
rhai a elwir bedyddiadau am yr a-
chos hwn, ſel y barn rhai, *Heb. 6. 2.*

1. Bedydd dwfr, yr hwn yw gol-
chiad y cnawd i arwyddocau golchi-
ad yr yſpryd, am hynny ebe 'r Apo-
ſtl Pedr, *Bedydd ſydd yn ein hachub* 1 Pet. 3. 21.
*ninnau, nid bwrw ymmaith ſudreddi y*
*cnawd, eithr ymatteb cydwybod dda tuac*
*at dduw trwy adgyfodiad Ieſu Griſt.*

2. Bedydd tân, am y bedydd
hwn y mae Joan fedyddiwr yn ſon,

 y

Mat: 3.11. y byddei i Griſt *fedyddio â'r yſpryd glan, ac â thân.* Cyflawnwyd yr yſgrythur hon pan ſyrthiodd yr yſpryd glan ar y diſcyblion mewn ymddangoſiad *tafodau tanllyd.* Nid oedd y bedydd hwn trwy ymdrochi mewn tân, ond trwy daenelliad neu dywalltiad o dan arnynt, yr hwn *a eiſteddodd ar bob un o honynt.* Gwel *Act.* 11. 16. Bedydd tân yw *golchiad tanllyd*, yr hwn ſydd yn puro yr enaid.

Act. 2. 3.

Iſa. 4 4. Felly yr addawodd Duw i *olchi budreddi merched Sion, a charthu gwaed Jeruſalem oi chanol mewn yſpryd barn, ac mewn yſpryd lloſgfa.*

3. Bedydd gwaed, am y bedydd hwn y gofyn Chriſt i feibion Zebedæus, *a ellwch chwi 'ch bedyddio âr bedydd y bedyddirfi? ac yfed or Cwppan yr ydwyfi yn yfed o honaw?* y bedydd hwn ar Cwppan hwn un ydynt, ſef dioddefiadau Chriſt, y rhai yr oedd ei ddiſcyblion i fod yn gyfrannogion o honynt. Fel hyn y deall rhai yr yſgrythur dywyll honno *beth a wna y rhai a fedyddir tros y meirw?* megis pe dywedaſei, beth a wña y merthyron y rhai a fedyddir â gwaed, gan roddi i lawr eu heinioes i ddwyn tyſtiolaeth

Mat.20.22

1 Cor. 15. 29.

ſtiolaeth tros adgyfodiad y meirw, *os y meirw ni chyfodir ddim?* Fel y mae bedydd dwfr yn dyſtiolaeth on *badgyfodiad yſprydol*, felly mae bedydd gwaed o'n *badgyfodiad corphorol.* Mae'n debygol fod yr Apoſtl yn ſon am y bedydd hwn wrth y geiriau a ganlyn, *a pha ham yr ydym ninnau mewn perigl bôb awr.* Megis pe dywedaſei fel hyn, ynfyd yw rhai a gollaſant eu heinios *am obaith adgyfodiad y meirw*, ac ynfyd ninnau y rhai ydym mewn perigl o golli ein heinios bôb awr, os y meirw ni chyfodir ddim.

*1 Cor.* 15. 30.

*Acts* 23. 6.
*Heb.* 11. 35.

Eithr y Cyntaf or tri hyn, ſef Bedydd dwfr yr ydym ni yn awr iw yſtyried.

Y bedydd hwn o ddwfr a weinir yn yr Efengyl mewn tair ffurf.

1. Gan Joan Fedyddiwr *yn enw Chriſt oedd ar ddyfod. Joan yn ddiau a fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, ſef yn Ghriſt Jeſu.* Fe ſedyddiodd Joan yn agos i hanner blwyddyn cyn iddo adnabod perſon Criſt. *Jo.* 1. 31. *ac myſi nid adwaenwn ef.* Felly y rhai

*Acts* 19. 4.

a fedyddiwyd gantho ef, nid adwaenent yr Jesu, etto bedyddied hwynt i enw y Messiah. Gwel *Acts* 19. 2. & 18. 25. Yr oedd bedydd yn y ffurf hon yn deffroi'r bobl i ddisgwyl am ymddangosiad Crist.

2. Yr ail ffurf oedd *yn enw'r Jesu* cyn pregethu yr Efengyl i'r Cenhedloedd i sicrhau mae efe oedd y gwir Messiah, neu'r eneiniog Jachawdwr *Jo.* 3. 22. & 4. 1. Yr holl amser yr arhosodd yr Apostolion yn *Judea*, bedyddiasant *yn enw'r Jesu.* Act. 2. 38. *Bedyddier pob un o honoch yn enw Jesu Grist.* Acts 8. 16. *Yr oeddynt wedi eu bedyddio yn enw yr Arglwydd Jesu.* Acts 19. 5. *A phan glywsant hwy hyn, hwy a fedyddiwyd yn enw yr Arglwydd Jesu.* Yr achos o hyn oedd, i fod yn sêl mae Jesu oedd y Messiah, neu'r Christ, sef yr hwn a eneiniodd Duw i fod yn Jachawdur. Y Cwestiwn oedd, *ai'r Jesu oedd y Messiah*, neu'r Christ. Am hynny y
*Acts* 18. 5. tystiolaethei yr Apostolion *mae Jesu oedd Christ.* Felly yr ydym yn darllen i Paul orchfygu'r Iddewon, *gan*
*Acts* 9. 22. *gadarnhau mae hwn yw'r Christ.* Ir

diben

diben hwn yr oedd Bedydd ymhlith yr Iddewon *yn enw Christ*.

3. Y drydydd ffurf o Fedydd sydd *yn enw 'r tad, ar mab, ar yspryd glan.* Felly mae Christ yn gorchymyn iw Apostolion, pan oeddent i bregethu 'r Efengyl ir holl genhedloedd iw *bedyddio yn enw 'r Tâd, ar mâb, ar yspryd glân.* *Mat.* 28 19. Yr Iddewon a gredent yn *y Tad* ar *yspryd glan*, ond amheuent ai'r Jesu oedd *mab Duw*, am hynny yr ydoedd Bedydd yn eu plith hwynt yn enw Jesu Grist y mab; eithr y Cenhedloedd oeddent ddieithriaid i'r Tri pherson bendigedig, am hynny y gorchmynnodd Christ fod Bedydd yn eu plith hwynt, *yn enw 'r Tad, a'r mâb, ar yspryd glân.* Y ffurf hon o fedydd sydd i barhau hyd ddiwedd y Byd. Gan hynny Bedydd yw Sacrament, ymha un y mae golchiad â dwfr yn enw y Tad, ar mab ar yspryd glan, yn arwyddocau ac yn selio ein himpiad yn Ghrist, an bod yn gyfrannogion o fendithion y Cyfammod newydd, a than rwymedigaeth neullduol i fod yn eiddo 'r Arglwydd.

P E N.

## PEN. II.

### *Am barhâad Bedydd Dwfr.*

EWyllys Christ ydyw i Fedydd dwfr barhau yn ei Eglwys hyd ddiwedd y byd. Fe ddengys hyn,

I. Oddiwrth orchymmyn Christ i'w weinidogion. Mat. 28. 19, 20. *Ewch gan hynny, a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw'r Tad, ar Mâb, ar yspryd glân, gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a Orchymynnais i chwi; ac wele yr ydwyf gydâ chwi bôb amser, hyd ddiwedd y byd. Amen.* Mae'n eglur yn y gorchymyn hwn.

1. Fod Christ yn sôn am Fedydd dwfr, ac nid bedydd yr yspryd, Canys y mae'n sôn am y bedydd oedd Gweinidogion iw roddi ymhob oes, ac nid am y bedydd, yr hwn ni allei neb iw roddi ond efe ei hun, sef bedydd yr yspryd. Y Bedydd a orchmynnir ymma sydd *yn enw yr yspryd glan*, ac am hynny nid Bedydd yr yspryd

yspryd ydyw, eithr un gwahanol.

2. Fod y Bydydd hwn i barhau: Mae i fyned ynghyd â phregethiad yr Efengyl, am hynny ebe Christ, *ewch, dysgwch, bedyddiwch.* Y peth a gyssylltodd Duw, nac yscared dyn. Os yw pregethiad yr Efengyl i barhau, mae bedydd dwfr i barhau hefyd. Ac rhac i neb dybied mae peth priodol i oes yr Apostolion yn unig oedd bedydd, mae Christ yn chwanegu, *dan ddysgu iddynt gadw pob peth ar a orchymynais i.* Gorchymynodd Christ fedydd dwfr, ac efe a fyn iw Apostolion ai weinidogion ddysgu ir Cenhedloedd gadw'r gorchymyn hwn. Os ydynt *i gadw pôb peth,* hwy a ddylent gadw'r gorchymyn hwn. Yn enwedigol o herwydd bod Christ yn addo ei breffennoldeb gydâ ei eglwys ar yr ammod hwn *iddi gadw pob peth a orchymynodd ef. Ac wele yr ydwyf gydâ chwi bob amser hyd ddiwedd y byd.* Os yw'r addewid hyd ddiwedd y byd, mae'r gorchymyn hefyd. Cans rhoddwyd yr addewid er mwyn y gorchymmyn, i'n hannog i roddi ufudd-dod iddo, y neb a ddi- v. 20.

yſtyro

yſtyro fedydd dwfr ſydd yn diyſtyru
Ordinhâd Criſt, ac yn torri ei orchymyn ef, am hynny *gelwir ef y*
Mat 5.19. *lleiaf yn nheyrnas nefoedd*, o herwydd ei fod *yn tynny ymmaith oddiwrth air Duw, Duw a dyn ymmaith*
Datc. 22. 19. *ei ran ef allan o lyfr y bywyd, ac allan o'r ddinas ſanctaidd.*

II. Parhâad bedydd dwfr a ddengys oddiwrth arferiad yr Apoſtolion. Yr oeddent hwy yn deall gorchymyn Chriſt ( ym Mat. 28. 19. ) am fedydd dwfr, ( ac ni ddyweid neb eu bôd yn cam gymmeryd ) ac o herwydd hynny yr oeddent yn bedyddio â bedydd dwfr. Felly gorchymynodd Petr fedyddio Tair mil mewn un diwrnod o'r rhai a gredent. Philip a
Act. 2. 38, 41. fedyddiodd y Samariaid, *yn wyr, ac*
Pen. 8. 12. *yn wragedd*, ac a fedyddiodd yr *Ef-*
38. *nuch o Ethiopia*. Paul a fedyddiwyd
Pen. 9. 18. gan *Ananias*, Gorchymynodd *Peter*
Pen. 10. 48. fedyddio *Cornelius*, ar rhai oedd yn gwrando yr gair yn ei dy efe. Yr oeddent wedi derbyn yr yſpryd cyn ei bedyddio,ac am hynny medd Petr, *A all neb luddias dwfr, fel na fedy-*
Act. 10. 47. *ddier y rhai hyn, y rhai dderbyniaſant*

ſant

*sant yr yspryd glan, fel ninnau.* Na
fydded i neb gan hynny ddirmygu
bedydd dwfr, o herwydd eu bod we-
di derbyn y sylwedd, sef bedydd yr
yspryd, canys yr oedd *Cornelius* ac
eraill yn ei dŷ ef wedi derbyn yr ys-
pryd, ac etto mae *Petr* yn gorchy-
myn iw bedyddio. Mor wrthwyneb
yw gwrthresymmau rhai i resymmiad
yr Apostl. Ebe Petr, derbynniasant
yr yspryd, am hynny bedydder
hwynt â dwfr, ebe rhai yn ein dy-
ddiau ni, derbynniasom yr yspryd,
am hynny nid rhaid i ni wrth fedydd
dwfr. Arwydd hynod fod yspryd
amryfusedd yn eu tywys, Canys p'le
mae yspryd Christ, *efe a gymmer or* *Jo.* 16. 14.
*eiddo ef, ac a'i mynega i ni.* Ac un or
pethau hynny sydd eiddo Christ yw
bedydd dwfr, canys efe a'i hordeini-
odd i fod yn un o sacramentau'r Te-
stament newydd. Mewn byrr, nid
ydym ni yn darllein am un a dder-
byniodd yr Apostolion i fod yn aelod
o Eglwys Grist nes ei fedyddio. Yr
oedd yr holl Gristnogion yn amser yr
Apostolion wedi eu bedyddio. *O* 1 *Cor.* 12,
*herwydd trwy un yspryd y bedyddi-* 13.
*wyd ni oll yn un corph, pa unbynnag ai*
*Iddewon*

*Iddewon ai Groegwyr, ai Caethion,* ac
*rhyddion.* Gwel *Gal.* 3. 27, 28.

Gwrthdadl. Mae'r Apostl Paul y
*diolch i Dduw na fedyddiodd ef neb o'r*
Corinthiaid, *ond Crispus a Gaius*--
1 *Cor.*1.14, *ac na anfonodd Christ ef i fedyddio on*
17. *i efangylu.*

Atteb. Mae'r Apostl yn diolch
Dduw na fedyddiodd ef ond rh
ymhlith y Corinthiaid, nid o her
wydd nad oedd yn barnu bedydd y
beth anghenrheidiol, Canys dywe
*Eph.* 4. 5. mewn lle arall fod un *Arglwydd, u*
*ffydd, un bedydd*, ond o herwyd
bod y Corinthiaid yn camarferu
Ordinhad hon, ac yn cymmeryd ach
lysur oddiwrthi iw galw eu hunai
ar enw Paul; am hynny ebe efe, n
fedyddiais i ond Crispus a Gaius, *f*
1 *Cor.*1.15 *na ddywedo neb fedyddio o honof i yn f*
*enw fy hun.*

Gwir yw, mae yn dywedyd *n*
17. *ddanfonodd Christ ef i fedyddio, ond*
*Efangylu*, hynny yw, ni ddanfo
nodd Christ ef yn gymaint i fedyddi
ac i efangylu. Dull o ddywediad te
byg ir gair hwnnw, *Trugaredd y*
*Mat.* 9.13. *ydwyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth*
yr oedd Duw yn ewyllysio trugaredd

ac

ac aberth, ond nid oedd yn gymmaint yn ewyllysio aberth, ac yr oedd yn ewyllysio trugaredd, Felly yr oedd Duw wedi danfon Paul *i bregethu ac i fedyddio*, Canys pe buasei heb ei ddanfon i fedyddio ni fedyddiasei efe neb oll, eithr yr oedd wedi ddanfon yn bennaf i efangylu, yr un modd ar Apostolion eraill, wrth y rhai y dywedodd Christ, *ewch, dysgwch, bedyddiwch*. Mat. 28. 19 Y rhan bennaf o'i swydd oedd pregethu'r efengyl, ac am hynny er eu bod yn bedyddio weithiau, yr oeddent yn fynych yn gorchymmyn y gwaith hwnnw i weinidogion eraill oedd yn eu canlyn. Felly Petr a orchymynodd fedyddio Cornelius, eithr mae'n debygol nas bedyddiodd efe ei hun mohonaw. Act. 10. 48. *Ni fedyddiodd yr Jesu ei hun, eithr ei ddyscyblion ef*, Jo. 4. 2. mae ysgrythur arall yn dywedyd iddo fedyddio, *Jo*, 3. 22. hynny yw, trwy weinidogaeth ei ddisgyblion. Peth arferol yw yn yr ysgrythur ddywedid i un wneuthur y peth ei hun, y mae arall yn ei wneuthur yn ol ei appwyntiad ef. Felly magodd merch Pharaoh Moses, Act. 7. 21. ac yr adeiladodd Solomon y Deml. 2 Bren. 6.

 Ni

Ni ſedyddiodd Chriſt ei hun, herwydd y bedydd mwya priod Iddo ef oedd bedydd yr yſpryd, ef
*Mat.* 3 11. *ach bedyddia chwi âr yſpryd glân, ac* *thân.* Yr un modd, nid oedd mor a ddas ir Apoſtolion ei hunain ſedy ddio â bedydd dwfr, o herwyd mae trwy oſodiad eu dwylo hwyn yr oedd y rhai a ſedyddiwyd â dwf yn derbyn bedydd yr yſpryd. *Act.* 8. 16, 17.

III. Fe ddylid arferu bedyd dwfr, nid yn unig o herwydd ei ſod yn amſer yr Apoſtolion, ond ei ſod wedi parhau yn eglwys Dduw ymhob oes oddiar amſer yr Apoſtolion hyd yr oes hon. Peth hawdd fyddei rhoddi ſiamplau or arferiad o honaw ymhob oes pe bai hynny ſuddiol.

Os dywed neb ſod bedydd dwfr i ſarw gyda'r Apoſtolion, hwy a ddylent brofi hynny, eithr ni a brofaſom y gwrthwyneb euſus oddiwrth orchymyn Chriſt iw weinidogion *i ddyſgy a bedyddio hyd ddiwedd y byd.* Siccr ydyw i holl eglwys Dduw yn yr oeſoedd ar ol yr Apoſtolion barhau

hau

thau yr Ordinhad hon. Y rhai cyntaf a wadodd fedydd dwfr oedd y *Manicheaid*, yr Hereticciaid melldigedig hynny y rhai a gymmharen Satan a'r Gwir Dduw. *Baptismum aquae nil cuiq; perhibent salutis afferre, nec quemquam eorum quos decipiunt, baptizandum putant.* Y rhai nesaf a wadodd fedydd dwfr yw'r *Sociniaid*, yr hereticks gresynol hynny a ymddangosodd yn yr oes ddiwethaf, y maent yn gwadu'r Drindod fendigedig, a Duwdod Christ, ac mewn byrr, yn gwadu'r holl bwngciau hynny or Grefydd Gristnogol sydd uwchlaw rheswm naturiol. Mae *Socinus* ei hun yn dywedyd nad oes i ni ddeall bedydd dwfr wrth y bedydd mae Christ yn ei orchymyn, *Mat.* 28. 19. *unde constat istius baptismi ministerium ipsis apostolis non fuisse injunctum.* Mae un o'i ddiscyblion ef yn myned ymhellach, ac yn dywedyd nad yw bedydd dwfr yn perthyn i ni mwy nac arch Noah, Gen. 8. neu iau Jeremiah, Jer. 28. neu Saethau brenin Joas 2 Kin. 13. *Baptismus ille ad nostra tempora nihilo minus pertinet, nec saniori á nobis imitatione usurpetur,*

*Aug. de Haeres. cap.* 46.

*Socin. disp. de bapt. c.* 2. *f.* 13.



*quam*

Ni fedyddiodd Christ ei hun, o herwydd y bedydd mwya priodol iddo ef oedd bedydd yr yspryd, *efe*
Mat. 3. 11. *ach bedyddia chwi âr ysprydglân, ac â thân.* Yr un modd, nid oedd mor addas ir Apostolion ei hunain fedyddio â bedydd dwfr, o herwydd mae trwy osodiad eu dwylo hwynt yr oedd y rhai a fedyddiwyd â dwfr yn derbyn bedydd yr yspryd. *Act.* 8. 16, 17.

III. Fe ddylid arferu bedydd dwfr, nid yn unig o herwydd ei fod yn amser yr Apostolion, ond ei fod wedi parhau yn eglwys Dduw ymhob oes oddiar amser yr Apostolion hyd yr oes hon. Peth hawdd fyddei rhoddi siamplau or arferiad o honaw ymhob oes pe bai hynny fuddiol.

Os dywed neb fod bedydd dwfr i farw gyda'r Apostolion, hwy a ddylent brofi hynny, eithr ni a brofason y gwrthwyneb eusus oddiwrth orchymyn Christ iw weinidogion *i ddysgy a bedyddio hyd ddiwedd y byd.* Siccr ydyw i holl eglwys Dduw yn yr oesoedd ar ol yr Apostolion barhau

hau yr Ordinhad hon. Y rhai cyntaf a wadodd fedydd dwfr oedd y *Manicheaid*, yr Hereticciaid melldigedig hynny y rhai a gymmharen Satan a'r Gwir Dduw. *Baptismum aquæ nil cuiq; perhibent salutis afferre, nec quemquam eorum quos decipiunt, baptizandum putant.* Y rhai nesaf a wadodd fedydd dwfr yw'r *Sociniaid*, yr hereticks gresynol hynny a ymddangosodd yn yr oes ddiwethaf, y maent yn gwadu'r Drindod fendigedig, a Duwdod Christ, ac mewn byrr, yn gwadu'r holl bwngciau hynny or Grefydd Gristnogol sydd uwchlaw rheswm naturiol. Mae *Socinus* ei hun yn dywedyd nad oes i ni ddeall bedydd dwfr wrth y bedydd mae Christ yn ei orchymyn, *Mat.* 28. 19. *unde constat istius baptismi ministerium ipsis apostolis non fuisse injunctum.* Mae un o'i ddiscyblion ef yn myned ymhellach, ac yn dywedyd nad yw bedydd dwfr yn perthyn i ni mwy nac arch Noah, Gen. 8. neu iau Jeremiah, Jer. 28. neu Saethau brenin Joas 2 Kin. 13. *Baptismus ille ad nostra tempora nihilo minus pertinet, nec saniori à nobis imitatione usurpetur,* quam

*Aug. de Hæres. cap.* 46.

*Socin. disp. de bapt. c.* 2. *f.* 13.

*quam si quis arcam Noæ, Gen.* 8. *Jugum Jeremiæ, Jer.* 28. *aut regis Joas sagittas,* 2 *reg.* 13. *sine certo Dei jussu, & mandato, velit imitari, & redintegrare. Sommerus Tract. de bapt. vid. cap.* 2. *f.* 15. *cap.* 16. *fol.* 136.

Yrun modd y dywed yr *Arminiaid* y rhai sydd yn derchafu ewyllys rhydd dyn uwchlaw rhyddras Duw.

Mae Episcopius yn dywedyd bod bedydd yn unig i barhau dros amser yr Apostolion. *Ritum fuisse tantum temporarium, ab Apostolis tantum usurpatum. Simon Episc. disp. priv.* 29. *Coroll.* 1. Dywed un arall o honynt, nad ydym ni yn rhwym trwy orchymmyn Duw i fedyddio. *Non tenemur ex vi alicujus mandati Dei baptizare. Hendric. stat. declar. apert. f.* 53.

Ni welwn gan hynny discyblion pwy yw rheini sydd yn gwadu bedydd dwfr.

IV. Mae bedydd dwfr i barhau yn eglwys Dduw os ystyriwn y dibennion o honaw. Ordeiniodd Christ fedydd i fod,

1. Yn

1. Yn arwydd o'n hedifeirwch ni, am hynny y gelwir *yn fedydd edifeirwch*. *Mar*. 1. 4. Mae edifeirwch yn ddyledswydd barhaus, ac am hynny mae bedydd edifeirwch i barhau.

2. Y mae'n dystiolaeth o'n ffydd ni yn Ghrist, *Mar*. 16. 16. *Act*. 8. 37, 38. Ac am hynny i barhau tra parhao ffydd ar y ddaiar.

3. Y mae yn rhwymyn sancteiddrwydd, 1 *Pet*. 3. 21. Y mae'r Apostl yn cynghori'r Christnogion i farw i bechod, ac i fyw i gyfiawnder, o herwydd eu bod wedi eu bedyddio, *Rom*. 6. 1, 2, 3, 4, 5, 6. Y mae rhinwedd yn Ordinhadau Duw i atteb y dibennion i ba rai yr appwyntiwyd hwynt. Nid ydynt yn anffrwythlon ond ir anghrediniol ar esgeulus.

Yr awrhon, os ydyw sancteiddrwydd i barhau yn eglwys Dduw, dylai bedydd hefyd barhau, yr hwn yw un or moddion i weithio a chynnyddu sancteiddrwydd yn yr enaid.

4. Y mae bedydd yn arwydd on hundeb ni â Christ. Iddo ef in bedyddiwyd. *Cynnifer o honoch ac a fedyddiwyd* Rom. 6. 3.

*fedyddiwyd yn Ghrist a wisgasoch Grist.* *Gal.* 3. 27. Drachefn medd yr Apostl, *bedyddiwyd ni oll yn un corph.* 1 *Cor.* 12. 13. Christ yw pen y Corph, y ffydloniaid yw'r aelodau, y rhai sydd mewn undeb tragwyddol âg ef, yr hwn a arwyddoceir mewn bedydd. A all y rheini ddymuno bod yn un corph â Christ y rhai nid ydynt ewyllysgar iw bedyddio ir undeb hwn?

5. Mae bedydd yn arwyddocau maddeuant pechod. *Mar.* 1. 4. *Bedyddier pob un ó honoch* (medd Pedr) *yn enw Jesu Grist er maddeuant pechodau.* Felly dywedodd *Ananias* wrth *Paul*, *Cyfod*, *bedyddier di*, *a golch ymmaith dy bechodau gan alw ar enw yr Arglwydd.* Onid anniolchgar yw rheini i ras Duw yr hwn sydd yn cynnig fél o bardwn iddynt, ac nis derbyniant. Da wr aent i gofio *Ahaz* ddrygionus yr hwn ni ofynnei arwydd gan yr Arglwydd yn ol ei air. Ceryddodd yr Arglwydd ef gan ddywedyd, *ai bychan gennych flino dynion, oni flinoch hefyd fy Nuw?* Os blinodd *Ahaz* Dduw o eisiau dewis arwydd, pa fodd yr wyt ti yn blino

*Act.* 2. 38. *Act.* 22. 16.

*Isa.* 7. 11, 12, 13.

blino Duw yr hwn wyt yn gwrthod arwydd o ddewisiad Duw ei hun? O derbyn roddion Duw yn ddiolchgar; ofna rhag i Dduw neccau pardwn itti, yr hwn wyt yn diystyru sêl ei bardwn ef.

6. Y mae bedydd yn Ammod o addewid iechydwriaeth. *Y neb a Gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig.* Mar.16.16 Gwir yw, nid yw'r addewid yn unig i fedydd, nid ydyw hi hefyd yn unig i ffydd, ond i ffydd a bedydd. Oni ddymunit ti fod yn gadwedig? Pa ham ynteu y diystyri di un o foddion iechydwriaeth? Ti a ddywedi, os Credaf byddaf gadwedig, er nam bedyddiwyd â dwfr. Mai Christ yn dywedyd yn amgenach, y rhaid i ti gredu ath fedyddio, os mynni fod yn gadwedig. Gwir yw, mae'r Apostl yn dywedyd wrth geidwad y Carchar, *Cred yn yr Arglwydd Jesu, a thi a fyddi cadwedig.* Act.16.31, 32. Eithr cyn gynted ac y credodd, efe a fedyddiwyd. Dy anghredinieath a balchder dy galon sy'n gwneuthur iti wrthwynebu 'r Ordinhad sanctaidd hon. Gwir ffydd a ddarostwng yr enaid i holl orchymynion Duw. Er gwaeled

 yw'r

yw'r tu allan o Ordinhadau'r Efengyl i resswm cnawdol, mae gogoniant ysprydol arnynt, trwyddynt hwy yr ydym yn derbyn yr ysprydd, yn mwynhau presennoldeb Duw, yn gyfrannogion o'r duwiol anian. *Os bu*
2 Cor. 3. 11 *yr hyn a ddileuid* ( sef ordinhadau'r gyfraith ) *yn ogoneddus*; *mwy o lawer y bydd yr hyn sydd yn aros* ( sef ordinhadau yr Efengyl ) *yn ogoneddus.* Gweinidogaeth yr Efengyl ( or hon y mae bedydd yn rhan *Mat.* 28. 19. )
2 Cor. 4. 7. *trysor ydyw a roddwyd mewn llestri gwael o bridd, fel y byddei godidowgrwydd y gallu o ddûw.* Yr oedd gweinidogaeth y gyfraith yn fwy gogoneddus mewn gogoniant bydol, eithr y mae gweinidogaeth yr Efengyl,
1 Cor. 1. 2, 23, 26, 28. er ei bod yn un o *bethau distadl y byd* yn rhagori mewn gogoniant ysprydol. *Canys hefyd ni ogoneddwyd yr hyn a ogoneddwyd* ( sef gweinido-
2. Cor. 3. 10 gaeth y Ddeddf ) *yn y rhan hon, o herwydd y gogoniant trarhagorol*, sydd yngweinidogaeth yr Efengyl.

Ymddangossiad Christ eu hun, yr hwn *yw disclairdeb gogoniant y Tâd*, oedd wael a dirmygedic yngolwg y
Isa. 53. 3. byd, *dirmygedig oedd, ac ni wnaethom*

gyfrif

*gyfrif o honaw*, medd y prophwyd. Yr un modd y mae ei Ordinhadau ef, o herwydd eu bod yn wael ir olwg, *dirmygedic ydynt, ac ni wneir cyfrif o honynt*. Fel hyn y mae Christ *yn faen tramgwydd, ac yn graig rhwystr, ir rhai sydd yn tramgwyddo wrth y gair, gan fod yn anufydd.* 1 Pet. 2.8.

Pa ham y dirmygi Ordinhad Christ am fedydd dwfr? Gochel lwybrau yr hen *Phariseaid*, y rhai *yn eu herbyn eu hunain a ddiystyrasant gyngor Duw, heb eu bedyddio*, gan Joan Fedyddiwr. Yr wyt ti yn diystyru, nid bedydd Joan, eithr bedydd Christ, ac am hynny mwy dy bechod di nai pechod hwy. Gad i mi ddywedyd wrth it fel y dywedodd gweision Naaman wrtho. *Pe dywedasei yr Arglwydd beth mawr wrthit ti, o nis gwnelsit? pa faint mwy gan iddo ddywedyd wrthit, ymolch, a bydd lan?* Gallasei'r Arglwydd lanhau Naaman heb i ddanfon ir Jorddonen, eithr rhoddodd y gorchymyn hwnnw iddo er profiad ei ufudddod, ac i ddangos pa rinwedd sydd mewn gwaelfoddion, pan ydyw ef yn argraphu eu awdurdod arnynt. Lu. 7. 30. 2 Bren. 5. 13.

Gallasei

Gallasei Christ roddi ei olwg ir dyn a anesid yn ddall heb ei ddanfon i ymolchi yn llyn *Siloam.* Eithr pe
9. 7. buasei *Naaman*, neu'r dyn hwn yn anufudd ir gorchymyn neullduol a roddwyd iddynt, *i ymolchi mewn dwr*, buasei gwahanglwyf y naill, a dallineb y llall yn aros heb obaith jachâad.

Fel hyn y gwelwn fod bedydd dwfr i barhau yn eglwys Dduw hyd ddiwedd y byd.

PEN.

ye Aged of mary Barrey 21 mary 1732

ye Aged 9 of Katherine

Thoms 2 + 1733 ye 14th Apr

# PEN. III.

*Am y modd, neu'r ffurf oddiallan o weinidogaeth bedydd.*

MAE rhai yn barnu y dylid trochi'r holl gorph yn y dwfr, ac nad oes un ffurf arall yn gyfreithlon; mae eraill yn barnu fod taenelliad dwfr ar wyneb yr hwn a fedyddir yn ddigon, yn enwedigol yn y gwledydd oerion hyn. Canys megis yn y Sacrament arall o Swpper yr Arglwydd mae un tamaid o fara, ac un llymmaid o wîn yn ddigonol i arwyddocau yr ymborth ysprydol sydd i gael yn Ghrist; felly yn y Sacrament o fedydd mae taenelliad ychydic o ddwfr ar yr hwn a fedyddier yn arwyddocau rhinwedd gwaed Christ mor effeithiol ac afonydd o ddyfroedd.

Nid yw trochi na thaenellu yn sylweddol ir Ordinhad hon, eithr golchiad â dwfr, neu osod dwfr ar y Corph er glauhâd, sydd o sylwedd Bedydd. Canys y mae'r gair bedydd yn

John Williams his Book August 28 1732

Jonawr: 2

yn y Groeg yn arwyddocau golchiad â dwfr, fel y nodwyd or blaen allan or *Heb.* 9. 10. Nid yw'r Testament newydd yn dywedyd mewn cynnifer o eiriau pa fodd yr oedd yr Apostolion yn bedyddio, ai gan drochi, ai ynte gan daenellu, ond siccr ydyw eu bod yn golchi â dwfr (mewn rhwy ffordd neu gilidd) pob un a fedyddiwyd. Mae'n debygol eu bod weithiau yn trochi, weithiau yn taenellu y rhai a fedyddiwyd.

Mae'n eglur fod bedyddio trwy daenelliad neu dywalltiad dwfr yn gyfreithlon, wrth y rhesymmau hyn.

1. Mae'r ysgrythur yn galw taenelliad neu dywalltiad dwfr yn fedydd. *Mar.* 7. 4. *A phan ddelont or farchnad, ni fwyttant, oni bydd iddynt ymolch*, neu fel y mae yn y Gr. *Oni fyddant wedi bedyddio.* Eu dwylo yr oeddent yn eu golchi, neu yn eu bedyddio pan ddeuent ôr farchnad, *Mar.* 7. 3. nid gan eu trochi mewn dwfr, eithr trwy dywallt dwfr arnynt, canys felly yr ymolchei yr Iddewon. 2 *Bren.* 3. 11. *Y mae ymma Elizeus mab Saphat yr hwn*

*Mar.* 7. 4. ἐὰν μὴ βαπτίσωνται.

a

*a dywalltodd ddwfr ar ddwylo E-lias.*

Mae Chriſt yn ſôn yn yr un lle, *Mar.* 7. 4. Am *olchiad* neu fedydd *cwppanau, ac yſtenau, ac efyddennau a byrddau.* Yr oedd y golchiad hwn trwy dywallt dwfr, ac nid trwy eu trochi mewn dwfr, canys nid yw debygol eu bod yn trochi eu byrddau mewn dwfr bob gwaith y golchid hwynt, yn enwedigol yn y wlad honno ple yr oedd dwfr mor anaml. Ac etto mae'r yſpryd glan yn galw'r ffordd hon o olchi yn fedydd. *Mar.* 7. 4. Βαπτισμοὺς ποτηρίων.

1 *Cor.* 10. 1. *A'u bedyddio hwy oll i Moſes, yny cwmwl.* Pa fodd y bedyddiwyd hwy yn y Cwmwl? nid trwy ymdrochi yntho, canys yr oedd hynny yn amhoſſibl, o herwydd bod y Cwmwl uwch eu pennau; eithr bedyddiwyd hwynt trwy fod y cwml yn diferu ac yn taenellu dwfr arnynt.

*Mat.* 3. 11. *Efe ach bedyddia chwi a'r yſpryd glan, ac â than.* Pa fodd y bedyddiwyd y rhai'n a'r yſpryd glan? ai gan eu trochi yn yr yſpryd? ai ynteu gan dywallt yr yſpryd arnynt, fel y mae Petr yn eſponio allan ó

D Joel,

Joel, *Act.* 2. 17. *Mi a dywalltaf o'm hysbryd ar bob cnawd.* A phan bedyddiwyd hwy a thân, Act. 2. 3. a trochwyd hwynt mewn tan? *ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megis o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt.*

Wrth hyn y gwelwn mae bedydd yn jaith yr scrythur yw tywalltiad, neu daenelliad dwfr.

2. Fel y mae taenelliad yn fedydd, felly mae'r pethau a arwyddoceir mewn bedydd yn cael eu gosod allan trwy daenelliad á thywalltiad dwfr. Mae bedydd yn arwyddocau dau beth, gwaed Christ ac ysbryd Christ. Mae taenelliad dwfr yn arwyddocau yr ddau hyn.

Mae taenelliad dwfr yn arwyddocau taenelliad gwaed Christ ar y gydwybod. *Heb.* 10. 22. *Nesawn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi* ein taenellu *oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glan.* Dymma'r arwydd ar hyn a arwyddoceir wrth fedydd wedi eu gosod i lawr ynghyd; mae golchiad dwfr yn arwyddocau taenelliad y galon oddiwrth g[y]dwybod ddrwg. Yr un

Heb. 10. 22. ἐῤῥαντισμένοι τὰς καρδίας.

modd

modd y dywed yr Apostl, *Etholedigion——Trwy sancteiddiadd yr yspryd i ufudd-dod a* thaenelliad *gwaed Christ.* Mae'r arwyddocead hwn mor eglur, ac y mae'r Apostl yn galw gwaed Christ, *gwaed y taenelliad.* Y cyssondeb hwn rhwng yr arwydd ar hyn a arwyddoceir sydd yn cyfiawnhau yr arferiad o daenellu dwfr wrth fedyddio. 1 Pet. 1.2.

Bendith arall a selir ini mewn bedydd yw'n Cymmundeb ni âg yspryd Christ. Y fendith hon a arwyddoceir, trwy dywalltiad a thaenelliad dwfr. *Act.* 2. 17. Twyalltaf *o'm hyspryd ar bob cnawd. Isa.* 44. 3. *Canys tywalltaf ddyfroedd ar y sychedic, tywalltaf fy yspryd ar dy had. Isa.* 52. 15. *Felly y* taenella *ef genhedloedd lawer.* Ezek. 36. 25, 27. *Taenellaf arnoch ddwfr glân fel y byddoch lân ——— rhoddaf hefydd fy yspryd och mewn.*

Fel hyn y mae yn eglur fod taenellu neu dywallt dwfr mewn bedydd yn gyfreithlon, o herwydd eu bod yn dal allan y prif fendithion a arwyddoceir wrth fedydd.



3. Mae

3. Mae taenellu yn gyfreithlon, o herwydd fod yn debygol jawn ir Apostolion fedyddio trwy dywallt, neu daenellu dwfr.

*Act.* 2. 41. *Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd; a chwanegwyd attynt* y dwthwn hwnnw, *ynghylch tair mil o eneidiau.* Nid yw debygol drochi'r tair mil hyn tros eu pennau mewn dwfr; pa fodd y gallei Pedr ar Apostolion eraill, sef deuddeg gwr, fedyddio tair mil mewn
*Act.* 2. 15. un diwrnod, je, mewn hanner diwrnod? canys yr oedd hi y drydydd awr, hynny yw, naw ar gloch y boreu cyn dechreu'r bregeth, ac mae'n debygol ei bod yn agos i hanner dydd cyn diweddu, gwel, werf. 40. P'le ceid cyfnewid dillad i gynnifer o bobl, mewn amser mor fyrr? Yr hyn oedd angenrheidiol, os trochwyd hwynt. Peth anhawdd hefyd oedd cael digon o ddwfr iw trochi hwynt yn *Ghaersalem*, nid oedd *Kidron* a dyfroedd *Siloam* ond dwy afon fychan jawn, yn enwedigol yn amser y Pentecost, yngwres yr haf. Gwel, *Isa.* 8. 6. Am hynny mae'n debyg iw bedyddio hwynt trwy daenellu neu dywallt dwfr

dwfr, yr hun a ellyd i wneuthur yn hawdd mewn ychydic o oriau.

*Act.* 9. 17, 18. *Ac Ananias a aeth i mewn ir tŷ, ac wedi dodi ei ddwylo arno——— efe a gafodd ei olwg yn y man; ac efe a gyfododd ac a fedyddiwyd.* Bedyddiwyd Paul ymma yn ei dŷ lletty, pan oedd yn glaf ac yn wan, wedi ymprydio dridiau cyfan. Pe buasei digon o ddwfr yn y tŷ i drochi ei holl gorph ef, yr hyn nid yw debygol, nid oedd addas gymmeryd gwr yn y cyflwr gwan hwnnw ai drochi yn noeth mewn dwfr oer.

*Act.* 16. 33. *Ac efe a'u cymmerth hwy yr awr honno o'r nôs, ac a olchodd eu briwiau, ac efe a fedyddiwŷd, ar eiddo oll yn y man.* Nid yw debygol i Geidwad y Carchar ai holl deulu fynd yr amser hynny or nos i rwy afon ddwfn, a chymmeryd Paul a Silas i wlychu ei cyrph archolledic wrth eu trochi hwynt yn y dwr.

Gwrthddadl. Joan a fedyddiodd yn Jordan, ac yn Enon, o herwydd bod yno lawer o ddwfr, ac am hynny trochwyd y rhai a fedyddiwyd. *Mat.* 3. 13. *Jo.* 3. 23.

Att. Os bedyddiwyd rhai trwy drochi, bedyddiwyd eraill trwy dywallt dwr arnynt, fel y profafon or blaen, ac am hynny mae'r ddwy ffordd yn gyfreithlon.

Eithr nid yw'r fcrythur mewn un lle yn dywedyd i trochi hwynt wrth eu bedyddio. O dywed y rhai fydd yn erbyn taenellu, i bod yn Cafglu hynny trwy ganlyniad oddiwrth yr fcrythurau a enwyd, hwy a ddylent gofio eu bod yn gwrthod canlyniadau fcrythurol pan yr ydym ni yn eu harferu i brofi bedydd plant. Maent yn galw arnom ni i ddangos iddynt, ryw orchymyn, neu fiampl mewn cnifer o eiriau yn fón am fedydd plant; yr ydym ninnau yn atteb; y gallwn gafglu trwy ganlyniad oddiwrth amryw fcrythurau y dylid eu bedyddio, ni dderbyniant y dull hwn o ymrefymmiad oddiwrthym ni, ac etto nid oes ganthynt ddim ei ddangos ychwaneg am drochi, yr hyn fydd ó fylwedd bedydd, fel y dywedant hwy.

Maent hwy yn tybied i Joan drochi y rhai a fedyddiodd ef o herwydd iddo fedyddio yn yr Jorddonen, ni allant

allant byth brofi mae hynny oedd yr achos, canys nid yw'r ſcrythur yn dywedyd beth oedd yr achos pa ham y bedyddiodd yn yr Jorddonen. Fe allei iddo ſedyddio yno o herwydd ei bod yn agos i anialwch Juda, p'le 'r oedd yn pregethu. Fe allei bod rhyw ddirgelwch yſprydol yn ei waith ef yn bedyddio yno, 2 *Bren.* 5. 10.

Y mae'n amheyus jawn a darſu iddo drochi'r bobl a ddaeth atto, canys *aeth allan atto ef Jeruſalem, a boll Judea, ar boll wlad o amgylch yr Jorddonen, a hwy a fedyddiwyd gantho ef.* Ni allwn ni farnu iddo ſedyddio llai na chan mil o wyr a gwragedd, o herwydd iddo ſedyddio *Jeruſalem a boll Judea, ar boll wlad o amgylch yr Jorddonem*, mae'n ſicer fod llawer mwy o bobl yn yr holl wlad. Eithr yr oedd yn amhoſſibl iddo allel trochi cnifer o ddynion yn amſer byr ei wenidogaeth, yr hon ni pharhaodd ond tair blynedd, ac o'r tair hynny gorweddodd yngharchar hanner blwyddyn, fel na bu iddo bregethu a bedyddio ond tros ddwy flynedd a hanner. Pe buaſei yn bedyddio

Mat. 3. 5, 6

vid. Lightf. vol. 1. p. 234.

dyddio deg a deugain bob dydd or ddwy flwyddyn a hanner hynny ( yr hyn nyd yw debygol iddo allel gwneuthur ) nid yw'r cwbl ond 45625 pum mil a deugain, chwech cant a phumb ar hugain. Eithr fe fedyddiodd lawer ychwaneg, yr hyn ni allei wneuthur wrth eu trochi hwynt, am hynny mae'n rhesymol i ni farnu iddo eu taenellu, neu dywallt dwfr arnynt, ac yn y ffordd honno fe allei yn hawdd fedyddio'r holl wlad, sef llawer can mil.

Gwrthddadl. *Philip ar Efnuch a aethant i wared ill dau i'r dwfr*, am hynny trochwyd yr Efnuch.

Att. Pa fodd y mae hynny yn canlyn? O ni allent hwy fynd ir dwfr, heb ymdrochi yntho? yr ydym yn ddarllen yn *Gen.* 24. 45. *Rebecca a aeth i wared ir ffynnon*, a ydyw yn canlyn iddi ymdrochi yno? Chwi ddywedwch am eich morwyn pan él i nól ddwfr, *hi a aeth i wared ir afon*, nid ydych yn meddwl ei bod yn ymdrochi yno.

Col. 2. 12. Gwrthdd. *Claddwyd ni gan hynny gydâg ef trwy fedydd i farwolaeth*, *Ruf.* 6. 4. Am hynny medd rhai

fe

fe ddylid trochi rhai wrth eu bydyddio.

At. Yr ydym ni yn claddu trwy daflu pridd ar y Corph, ac y mae tywalltiad dwfr yn arwyddocau hynny. Ni ellir dywedyd fod un wedi gladdu a syrthio tan ddwfr, neu ddaiar, oddi eithr iddo aros yno tros amser. Yr hwn a ddescyn i bwll gló mae tan y ddaiar, eithr nid yw wedi gladdu, o herwydd i fod yn dyfod allan yn y man. Am hynny nid yw trochi yn arwyddocau claddu, oddi eithr ir hwn a drochir aros tros amser tan y dwfr. Arhosodd Jonah tan y dwfr i arwyddocau claddedigaeth Christ.

Nid yw'r gyffelybiaeth ynteu rhwng bedydd a marwolaeth yn sefyll mewn trochi'r Corph, yn gymmeint ac yn niben yr Ordinhad, i'n gwneuthur yn gyfrannogion o farwolaeth Christ, o'i fywyd, o'i escynniad, o'i eisteddiad ar ddeheulaw Duw.

Mae bedydd yn ein gwneuthur *yn gyd-blanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef.* Etto nid oes neb yn plannu cyrph mewn dwfr wrth eu bedyddio, *Rhuf. 6. 5.*

ys

yr hyn a ddylid ei wneuthur, os yw 'r rhesymmiad hwn ynddo, i ddangos y gyffelybiaeth rhwng bedyddio a phlannu.

Fel hyn y gwelwn ni nad yw mor eglur ac y mynnei rhai i ni feddwl, i'r Apostolion drochi pobl, ac am hynny nad yw trochi o sylwedd bedydd, ond bod y rheini wedi eu bedyddio yn gyfreithlon a daenellwyd â dwfr.

---



PEN.

# PEN. IV.

*Am y rhai y dylid eu bedyddio, sef y ffyddloniaid a'u had.*

NID yw bedydd yn perthyn i bawb, ond ir ffyddloniaid a'u hâd. *Y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig.* Pan o synnodd yr Efnuch i Philip, *wele ddwfr, beth sydd yn lluddias fy medyddio.* Attebodd ynteu, *os wyti 'n credu ath holl galon, fe a ellir.* Mae'n eglur fod bedydd yn perthyn ir rhai sy'n credu, eithr pa fodd y dengys i fod yn perthyn i hâd y Cyfryw.

*Mat.* 16.16

*Act.* 8. 36, 37.

Fe ddengys hynny, 1. Oddiwrth gyfammod Duw. 2. Oddiwrth enwaediad tan y gyfraith 3. Oddiwrth Orchymyn Christ i fedyddio'r holl genhedloedd. 4. O herwydd eu bod yn sanctaidd. 5. O herwydd i Grist eu bendithio. 6. O herwydd impio'r Cenhedloedd i ragorfreintiau'r Iddewon. 7. O herwydd y gallant fod yn gyfrannogion or hyn a arwyddoceir wrth fedydd.

8. Oddi-

8. Oddiwrth ffurf bedydd tan y gyfraith. 9. O herwydd i Joan Fedyddiwr fedyddio plant yn ol arferiad eglwys yr Iddewon. 10. O herwydd ir Apostolion fedyddio teuluoedd cyfain. 11. O herwydd i'r Eglwys Gristnogol ymhob oes fedyddio plant. 12. O herwydd i fod yn fodd rhinweddol i blannu'r grefydd Gristnogol. Oddiwrth y deuddeg Rhefwm ymma y bydd eglur y dylid bedyddio plant y ffyddloniaid.

I. Y rhefwm cyntaf i ddangos y dylid bedyddio plant y ffydloniaid a gymmerir oddiwrth gyfammod duw. Yr oedd Abraham ai hâd tan gyfammod o ras, yr ydym ni'r Cenhedloedd yn had i Abraham, ac y mae y Cyfammod gras yn perthyn i ni yn yr un helaethrwydd, ac yr oedd i Abraham, sef *i ni ac in had.* Ac os ydyw plant, neu had y ffyddloniaid yn y Cyfammod gras, a all neb luddias fêl y Cyfammod iddynt, sef bedydd? Ond i brofi 'r pethau hyn.

1. Cyfammod

1. Cyfammod Duw âg Abraham oedd gyfammod o ras. Canys y mae Duw yn addo bod yn Dduw iddo yn y Cyfammod hwnnw. *Gen.* 17. 7. *Cadarnhaf fyngbammod rhyngof â thi —— yn gyfammod tragywyddol i fod yn Dduw iti.* Dymma swm y Cyfammod gras i Dduw fod yn Dduw i ni, *Heb.* 8. 8, 9, 10.

Mae'r Apostl yn profi yn helaeth mae Cyfammod o ras oedd Cyfammod Abraham. Mae'n dangos mae nid Cyfammod Gweithredoedd oedd, yn Rhuf. 4. 1, 2, 3, *&c.* ac os nid Cyfammod o weithredoedd, Cyfammod o ras oedd. Canys fel y dywed yr Apostl, *os o ras, nid o weithredoedd mwyach; os amgen, nid yw gras yn ras mwyach; os amgen nid yw gweithred yn weithred mwyach.* *Rhuf.* 11. 6.

Yr oedd Cyfammod Abraham yn cynhwyso ffydd er Cyfiawnhad megis yr Ammod o honaw, *Rhuf.* 4. 11. *Ac efe a gymmerth arwydd yr enwaediad yn insel Cyfiawnder ffydd.*

*Cadarnhawyd Cyfammod* Abraham *gan Dduw yn Ghrist*, *Gal.* 3. 17. Ac am hynny yr oedd yn Gyfammod o

E ras,

ras, yr un cyfammod, a'n cyfammod ni tan yr Efengyl.

Gwir ydyw, yr oedd addewidion o wlad Canaan, ac o fendithion tymhorol yn perthyn i Gyfammod Abraham, *Gen.* 17. 8. Eithr nid oedd yr Addewid o wlad Canaan ó sylwedd y Cyfammod. Canys dywed yr Arglwydd yn yr un wers 8. *Ac mi a fydda yn Dduw iddynt.* Yr addewid ysprydol hon oedd sylwedd y Cyfammod, nid oedd yr Addewidion o fendithion tymhorol ond chwanegiad at y brif-addewid, yr un modd ac y mae tan yr Efengyl. *Mat.* 6. 33. *Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi ychwaneg.* Mae addewidion o bethau tymhorol ynghyfammod gras yr Efengyl, 1 *Tim.* 4. 8. *Duwioldeb sydd fuddiol i bôb peth a chenddi addewid or bywyd sydd yr awrhon, ac or hwn a fydd.*

*Gwel* 1 *Cor.* 3. 20, 21.

Heb law hynny, yr oedd Addewidion tymhorol Cyfammod Abraham yn cynhwyso bendithion ysprydol. Yr oedd gwlad Canaan yn arwydd or Orphwysfa nefol, am hynny *Abraham a ymdeithiodd trwy ffydd yngwlad yr adde-*

*addewid, megis mewn tir dieithr, gan drigo mewn lluestai, gydag Isaac ac Jacob, cydetifeddion o'r un addewid, Canys disgwyl yr ydoedd am ddinas ac iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw.*

2. Gwnaeth Duw y Cyfammod gras hwn âg Abraham ac a'i hâd, neu ei blant. *Gen.* 17. 7. *Cadarnhaf hefyd fyngbyfammod rhyngof a thi, ac ath had ar dy ol di trwy eu hoesoedd, yn gyfammod tragywyddawl, i fod yn Dduw iti, ac ith had ar dy ol di.* Yr oedd ei had naturiol mewn Cyfammod â Duw, o herwydd eu bod yn had naturiol iddo. Ac am hynny enwaedwyd ar Ismael, yr hwn a anwyd yn ol y Cnawd, megis ar Isaac, yr hwn a anwyd yn ol yr ysbryd. Felly yr Enwaedwyd ar Esau, a Jacob, er bod Esau yn wrthodedig, a Jacob yn etholedig. Ac o blith had cnawdol Abraham, y rhai oeddent oll yn yr Orchwyliaeth oddiallan o'r Cyfammod, y dewisei Duw yr had ysprydol. Fel y dywed y Apostl, *Rhuf.* 9. 6, 7, 7. *Canys nid Israel yw pawb ac sydd o Israel, ac nid plant y cnawd; y rhai hynny sy blant i*

 *Dduw,*

*Dduw, eithr plant yr addewid a gyfrifir yn had.* Hynny yw, ni chyfrifir plant y cnawd yn blant i Dduw, pan dorront eu cyfammod â Duw. Mae Joan fedyddiwr yn galw'r cyfryw yn *genhedla-*
*Mat.* 3. 7. *eth gwiberod,* a Christ ei hun yn eu-
*Jo.* 8. 44. galw *plant diafol.* Etto yr oeddent yn yr Orchwyliaeth oddi allan o gyfammod Duw, ac yn yr ystyriaeth honno, *eiddont hwy oedd y mabwysiad, ar cyfammodau, ar addewidion, &c.* Rhagorfreintiau mawrion oedd y rhain, a berthynent i had naturiol Abraham, ac yr oedd yr Apostl mewn tristyd mawr, ac mewn gofid dibaid, o herwydd bod Duw yn eu cae hwynt allan o'r rhargor-freintiau hyn, o herwydd eu hangrediniaeth yn gwrthod yr Efengyl.

3. Y mae'r Cenhedloedd Credl-
*Gal.* 3. 3, 29. niol yn hâd i Abraham. *Os ciddo*
*Gwel werf.* *Christ ydych, yna hâd Abraham ydych,*
9. *hyd* 17. *ac ettifeddion yn ol yr addewid.* Mae'r Apostl yn y 4dd ben. at y Rhufeiniaid yn profi yn helaeth fod Abraham yn dad ir Cenhedloed.

4. Mae'r Cyfammod Gras, o'r un helaethrwydd i had ysprydol Abraham,

ham, sef y Cenhedloedd Crediniol, ac yr oedd i Abraham ai had naturiol. Yr oedd y Cyfammod i Abraham ai had, y mae'r Cyfammod i'r ffyddloniaid a'i had hwynteu. Ni chwttogodd Duw mor cyfammod pan dderbyniodd y Cenhedloedd i mewn. Mae'r un rhagor freintiau yn perthyn ir had ysprydol ac oedd yn perthyn ir had naturiol. Yr oedd had naturiol Abraham ai plant yn y Cyfammod, felly y mae'r had ysprydol ai plant yn y Cyfammod. Fe ddengys hyn, os ystyriwn ni, 1. Fod plant y ffyddloniaid or Cenhedloedd yn y Cyfammod cyn dyfodiad Christ.

2. Eu bod hwy yn y Cyfammod ar ol ei ddyfodiad ef.

1. Yr oeddent yn y Cyfammod cyn ei ddyfodiad ef. Yr oedd yn nhŷ Abraham amryw broselytiaid o'r Cenhedloedd wedi eu hyfforddi yn y wir grefydd. Enwaedwyd plant y rhain. *A holl ddynion ei dŷ ef y rhai a anesid yn tŷ, ac a brynesid âg arian gan neb aieithr, a enwaedwyd gydag ef.* Mae Duw yn gorchymmyn enwaedu arnynt. *A phan arboso deithr* Gen. 14. 14. & 18, 19. Gen. 17. 27. Exod. 12. 48, 49.

 gydâ

*gydâ thi, ac ewyllysio cadw Pasc i'r Arglwydd, enwaeder ei holl ȳrfiaid ef, ac yna nesaed i wneuthur hynny.* Ymma gwelwn fod plant y Cenhedloedd ffyddloniaid yn gyfrannogion o gyfammod Duw, ac nad oedd gyfreithlon i'r rheini fwytta oen y Pasc nes gosod ar eu plant sel y Cyfammod.

2. Y maent hwy yn y Cyfammod ar ol dyfodiad Christ. Os oeddent ynghyfammod Duw nes dyfod Christ (fel mae'n siccr eu bod hwynt) pwy a faidd ddywedyd eu bwrw allan? Os yw neb mor rhyfygus a dywedyd felly, *dangosen yr amser, ar achos pa ham y bwrwyd hwy allan or Cyfammod gras.* Bydded iddynt roddi scrythur amlwg am hyn. Maent yn galw arnom ni i ddangos scrythur am fedydd plant, yr ydym wedi profi allan or scrythur fod plant y Cenhedloedd ffydloniaid yn y Cyfammod, dangosen hwy scrythur i bwrw allan o gyfammod. Mae'n siccr na allant ddangos yr un trwy'r holl fibl.

1. Eithr er mwy o eglurhad ir gwirionedd, ni ddangoswn trwy

amryw

amryw ſcrythurau eu bod yn y Cyſammod o ras yn waſtad.

*Act*. 2. 38, 39. *Edifarhewch a bedyddier chwi ——— Canys i chwi y mae'r addewid, ac i'ch plant, ac i bawb ymhell, cynnifer ac a alwo yr Arglwydd ein Duw ni atto.* Mae'r Apoſtl yn annog yr Iddewon i Gredu yngriſt, ac ir diben hynny yn goſod ger eu bron hwy addewid Duw i Abraham, y byddei yn dduw iddo ef ac iw had. Fe wyddei'r Iddewon mae plant yr addewid oeddent, a bod yr addewid yn perthyn iw had. Y maent yn dadleu'r rhagorfraint hon ar bob achos. Wele, eb'r Apoſtl, os Credwch yn yr Arglwydd Jeſu, mae'r addewid mor helaeth ac yr oedd hi or blaen, *i chwi ac ich plant*. Nid yw bedydd yn Cwttogi'r addewid. Os amgen, ni buaſei fawr annogiaeth ir Iddewon ddyfod at Griſt. *Mat*. 3. 9. *Jo*. 8. 39.

Eithr y mae'r Apoſtl yn dywedyd fod yr Addewid ir ffyddloniaid ac iw plant. Pa addewid? yr addewid y byddei Duw yn Dduw iddynt hwy ac iw had, ac y byddei i Dduw dywallt ei yſpryd arnynt hwy ai had. *Gen*. 17. 7. *Acts* 2. 17.

had. *Isa.* 44. 3. *Tywalltaf fy yspryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth.*

Felly y perthyn yr Addewid ir Iddewon ac iw plant, eithr beth yw hyn ir Cenhedloedd? Y mae yn Canlyn, *Act.* 2. 39. *Ac i bawb ymhell, cynnifer ac a alwo yr Arglwydd ein duw ni atto.* Y rhai ymhell yw'r Cenhedloedd: yr Iddewon, o herwydd eu bob mewn Cyfammod, oeddent yn agos at Dduw; y Cenhedloedd, o herwydd eu bod allan o Gyfammod, oeddent ymhell. *Eph.* 2. 13. *Chwy chwi y rhai oeddych gynt ymhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Christ*, gwers, 17. *Efe a bregethodd dang-neddyf i chwi y rhai pell, ac ir rhai agos*, sef i Genhedloedd, ac Iddewon.

Mae'r *addewid i bawb ym-hell, sef cynnifer ac a alwo yr Arglwydd.* Nid oedd ir Cenhedloedd ddim i wneuthur ar Addewid nes i Dduw eu galw hwynt i gredu yn ei Fab, ac yna y mae'r un addewid yn perthyn iddynt, yn yr un helaethrwydd, *y bydd Duw yn Dduw iddynt hwy ac iw had.* Mae'r Apostl yn dywedyd yn

eglur

eglur fod yr un addewid ir rhai ymhell, sef cynniser ac a alwyd; hynny yw, ir ffyddloniaid ymhlith y Cenhedloedd. Ac os yr un addewid, y mae hi yn perthyn iw plant hwythau, fel yr oedd i blant yr Iddewon, Canys nodasom or blaen fod plant y Cenhedloedd a dderbyniau y wir grefydd mewn cysammod â Duw cyn dyfodiad Christ, ac ni ddaeth Christ i bwrw nhwy allan yn amgenach na phlant yr Iddewon.

Gellir profi fod plant y ffyddloniaid yn y Cysammod ar ol dyfodiad Christ oddiwrth,

2. *Gal.* 3. 14. *Fel y delai bendith Abraham ar y Cenhedloedd trwy Grist Jesu.* Beth oedd y fendith hon, ond addewidion, a rhagor freintiau y Cysammod o ras a wnaethpwyd âg Abraham ac a'i hâd? yr un fendith a ddaeth ar y Cenhedloedd trwy Grist.

Bendith Abraham nid oedd bersonol, eithr iddo ef, ai had. Y fendith hon a ddaeth ar y Cenhedloedd Crediniawl, megis ar Abraham; am hynny, rhaid iddi ddyfod ar y ffyddloniaid or Cenhedloedd ac ar

eu

eu hâd. Canys ni ellir ei galw hi yn *fendith Abraham*, oni ddaw ar y Cenhedloedd yn ffurf sylweddol Cyfammod Abraham, sef, *byddaf yn dduw iti, ac ith hâd.* Oddieithr ir fendith hon ddyfod ar y Cenhedloedd yn yr un ffurf, ac yn yr un helaethrwydd, nid bendith Abraham yw hi, eithr rhan o honi, wedi ei thorri yn ei hanner. *Byddaf yn dduw i chwi'r Cenhedloedd, eithr nid i'ch hâd.* Ai bendith Abraham iw hon? Mor anhebyg iddi? Mae llawer o wahanieth rhwng estat a setlir ar wr yn bersonol, ar hon a setlir ar ei blant ef hefyd.

3. Mae plant y ffyddloniaid ynghyfammod Duw, o herwydd bod
Heb. 8. 6. *Christ yn Gyfryngwr Cyfammod gwell, yr hwn sydd wedi ei osod ar addewidion gwell.* Y datcuddiad mwya perffaith or Cyfammod gras sydd tan yr Efengyl, fel yr addef pawb, ac am hynny gwell ydyw nac un cyhoeddiad o'r Cyfammod a aeth ar blaen. Eithr os yw plant y ffyddloniaid wedi eac allan or Cyfammod, y mae'n gyfammod *gwaeth*, ac nid yn gyfammod *gwell*. Rhagorfraint mawr

oedd

oedd bod plant mewn Cyfammod, Canys y mae addewiddion Duw yn perthyn iddynt, ar mabwysiad yn eiddont hwy. Eithr os yw'n Cyfammod ni yn fyrr mewn rhagor-freintiau, pa fodd y mae'n Gyfammod gwell? Rhuf. 9. 4. eiddynt

4. Y cyfammod o ras y wnaeth Duw ac Abraham Cyfammod anghyfnewidiol oedd, o herwydd hynny ficcrhawyd efe trwy lw, fel *trwy ddau beth dianwadal yn y rhai yr oedd yn amhossibl i dduw fod yn gelwyddoc, y gallem ni gael Cyssur cryf.* Os caewyd plant allan, mae'r Cyfammod yn gyfnewidiol, ac os felly beth a ddaeth o'r addewid, ac o lw y Duw geirwir? P'le mae'r *Cyssur cryf?* p'le mae *dianwadalwch cyngor Duw?* Am hynny y rhai fydd yn bwrw plant y ffyddloniaid allan o Gyfammod Duw, y maent yn *gwanhau ein Cyssur,* yn diddymmu y Cyfammod tragywyddol, ac yn gwneuthur Duw yn gelwyddog. Heb. 6. 17, 18. 1 Jo. 5.10.

Fel hyn y mae'n amlwg fod plant y ffyddloniaid ynghyfammod Duw, ac os yn y Cyfammod y maent, y mae bedydd, fel y Cyfammod yn

perthyn iddynt. Os yw gras y Cyſammod yn perthyn iddynt, pwy a all neccau arwydd y gras hwnnw iddynt?

Nid oes hawl i fedydd i rhai mewn oedran ond oddiwrth gyſammod Duw, eu hawl yn y Cyſammod ſydd yn rhoddi iddynt hawl i fedydd, gan fod plant gan hynny yn yr un Cyſammod, y mae iddynt yr un hawl i fedydd ac i rhai mewn oedran. Je mae eu hawl yn fwy ſiccr, o herwydd ei bod yn ſefyll ar addewid Duw, eithr hawl rhai mewn oedran ſydd yn ſefyll ar eu proffes weledig, yr hon ſydd yn fynych yn rhagrithiol.

---

PEN.

# PEN. V.

*Yn profi bedydd plant yn gyfreithlon, o herwydd bod Enwaediad yn perthyn iddynt tan y gyfraith.*

## II. Rhefwm.

OS oedd yr Enwaediad tan y gyfraith yn perthyn i blant bychain, yna y mae bedydd tan yr Efengyl yn perthyn iddynt. Canys yr oedd yr Enwaediad, ac y mae bedydd yn fêl or un Cyfammod gras, ac yn arwyddocau, yn ol eu fylwedd, yr un pethau.

Yr oedd yr enwaediad yn arwyddocau,

1. Y llygredigaeth gwreiddiol fydd yn dyfod trwy *genhedliad naturiol*. Torriad y blaengroen a ddangofei iddynt mor anghenrheidiol yw torri ymaith *helaethrwydd malis* y galon, yr hyn a elwir *Enwaedu'r galon.* Jac. 1. 21. Jer. 4. 4.

Felly bedydd yn yr un modd a arwyddocáa ein llygredigaeth gwreiddiol,

F

1 Pet.3.21. ddiol, mae golchiad dwfr yn dwyn i'n coffadwriaeth fudreddi pechod. Ac o herwydd ein bob wedi'n geni mewn aflendid, rhaid i ni gael ein golchi yn ein mebyd. Gosodir allan ein cyflwr naturiol ni trwy gyffelybrwydd plentyn newydd eni yn gorwedd yn ei waed, heb ei olchi â dwfr. *Ezek.* 16. 4, 5. Yn ein bedydd mae Duw yn ein golchi oddiwrth ein gwâed.

Fel yr oedd yr enwaediad yn dwyn ar gof lygredigaeth natur tan y gyfraith, felly mae bedydd tan yr Efengyl, ac am hynny mae bedydd mor angheneidiol i blant yn awr, ac oedd enwaediad gynt. Y rhai cyntaf a gododd i fynu yn erbyn bedydd plant yn *Germani* a ddeallent hyn, am hynny gwadent lygredigaeth naturiol dyn, a thaerent fod plant yn dyfod ir byd yn ddibechod. * Yn ddiau peth anghyson ydyw addef fod plant yn cael eu geni mewn aflendid, ac etto lluddio dwfr iw golchi.

* *Gangr. Clopenburg.* p. 123.

2. Yr oedd enwaediad yn arwyddocau yr adenedigaeth, sef *enwaediad y galon.* Nid bod pawb yn cael

eu

eu hail eni yn yr enwaediad, ond bod Duw yn bendithio ei Ordinhad ei hun yn ei amser ei hun er adenedigaeth iw etholedigion i yn ol ei addewid, *Deut.* 30. 6. *Ar Arglwydd dy dduw a enwaeda dy galon, a chalon dy had, i garu'r Arglwydd dy dduw a'th holl galon, ac ath holl enaid.*

Yr un modd y mae bedydd yn arwyddocau yr Ailenedigaeth *Tit.* 3. 5. *Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewiddiad yr yspryd glan.* *Jo.* 3. 2.

Nid o herwydd bod pawb yn cael eu hail eni mewn bedydd, ond o herwydd bod bedydd yn dangos angenrheidrwydd yr adenedigaeth, ac yn effeithiawl yn amser Duw i bawb a etholwyd er gweithio yr adenedigaeth ynthynt.

Enwaedwyd ar galon Abraham cyn enwaedu ar ei gnawd ef, enwaedwyd Cnawd ei had ef cyn enwaedu ar eu Calonnau, yr un modd ein henafiaid or Cenhedloedd y rhai oeddent flaen ffrwyth i Grist, a ailânwyd cyn eu bedyddio, eithr ei hâd hwynt a fedyddir cyn eu hail eni.

 3. Yr

3. Yr oedd enwaediad yn sél y Cysammod Gras. *Rhu.* 4. 11. *Efe a gymmertb arwydd yr Enwaediad yn insel Cyfiawnder ffŷdd.* Yr oedd hi yn sél i siccrhau addewid Cyfiawnder o du Dduw, ac yn sél i rwymo dyn i usudd-dod ffŷdd. Yr oedd yn Arwydd i Abraham o *Gyfiawnder y ffŷdd, yr hon oedd ganddo yn y dienwaediad,* ac yn arwydd iw had ef or Cyfiawnder yr oeddent yn rhwym iw dderbyn trwy ffŷdd er Cyfiawnhâd, ar ol enwaedu arnynt.

Yr un modd y mae bedydd yn sél y Cysammod gras, yn arwydd o gyfiawnder ffŷdd. Ir ffyddloniaid cyntaf or Cenhedloedd yr oedd yn arwydd o gyfiawnder y ffŷdd oedd ganthynt cyn eu bedyddio, eithr iw had hwynt y mae yn arwydd or Cyfiawnder y maent yn rhwym iw dderbyn trwy ffŷdd ar ol eu bedyddio.

4. Yr oedd yr Enwaediad yn arwydd o ddyfodiad i mewn i eglwys Dduw, trwy'r drws hwnnw yr oedd pob gwrryw i ddyfod i mewn. Yr oedd y dienwaededig oddi allan, ac nid oedd iddo ddim hawl i ragorfreintiau'r eglwys weledig.

Yr

Yr un modd trwy fedydd yr ydym yn dyfod i mewn ir eglwys Griftnogol, hwn yw'r drws gweledig i deyrnas nefoedd, fef yr Eglwys efengylaidd. Am hynny os derbyniwyd plant bychain i eglwys Dduw trwy enwaediad tan y gyfraith, dylid eu derbyn i eglwys Dduw trwy fedydd tan yr efengyl. Yr oeddent yn aelodau o eglwys Dduw gynt, ac yn dyfod i mewn trwy'r drws o enwaediad ; os rhyfyga neb iw efgymuno hwynt allan or eglwys tan yr Efengyl, a chae drws bedydd yn ei herbyn, fe ddylai ddangos trwy ba awdurdod y mae'n gwneuthur felly. Am ba bechod y mae yn eu efgymuno allan or Eglwys ? ai am bechodau eu rhieni, ai ynteu am eu pechodau eu hunain ? Nid am bechodau eu rhieni, Canys plant y ffyddloniaid yr ydym ni yn fôn am danynt : nid am eu pechodau eu hunain, oddi eithr bod plant bychain yn fwy pechaduriaid tan yr Efengyl, nac yr oeddent tan y gyfraith. Ni all pechod gwreiddiol eu cae allan, canys yr oeddent yn euog o hwnnw tan y gyfraith, ac etto yn aelodau o eg-

 lwys

lwys Dduw. Ac ni allant fod yn euog o bechodau gweithredol cyn gynted ac y genir hwynt. Pa ddrwg ynteu a wnaethont i haeddu'r farn galed hon o Esgymundod allan o'r eglwys?

Pa dad sydd mor annaturiol a bwrw ei blentyn bychan allan oi dŷ ei hun? a fyddi di mor greulon ynteu ai fwrw allan o Dŷ Dduw? Bu ddrwg iawn yngolwg Abraham orfod iddo fwrw allan ei fab *Ismael*, er
Gen. 21.9, 11. iddo haeddu ei daflu allan trwy erlid Isaac; ai da yw yn dy olwg di fwrw allan dy blentyn, heb ddim achos? o na fydd mor anhebyg ith
Galarn.4.3 Dad Abraham. *Y dreigiau a dynnant allan eu bronnau, a roddant sugn iw Cenawon, eithr merch fy mhobl a aeth yn greulon, fel yr Estrisiaid yn yr Anialwch.* Yr ydym yn darllen am
Job 39.16. yr Estris, ei bod yn *galed wrth ei chywion, fel pe na byddent eiddi hi.* O na fydded *plant Abraham* yn *blant ir Estris.*

5. Yr oedd yr Enwaediad yn rhwymedigaeth i ddiosci corph pe-
Col. 2. 11. chodau y cnawd. Mae bedydd yn ein gosod ni tan yr un rhwymedigaeth.

gaeth. Y ddwy Ordinhâd a rwymant ir un ddyledswydd, sef i farwhau pechod; ac am hynny os oedd y naill yn perthyn i blant gynt, felly mae'r llall yr awrhon. Rhuf. 6. 4, 6

Gwrthdd. Ond pa fodd y gellir rhwymo plant ir hyn nid ydynt yn ei ddeall. Att. Nid oeddent yn ddeall rhwym yr enwaediad, ac etto yr oeddent wedi ymrwymo ir Arglwydd, i gymmeryd ef i fod yn Dduw iddynt, ac i ymado a ffyrdd pechod. Yr oedd plant megis eraill yn ymrwymo ynghyfammod Duw, *Deut.* 29. 10, 11, 12. *Yr ydych chwi oll yn sefyll heddyw ger bron yr Arglwydd eich Duw—— holl wyr Israel, eich plant, eich gwragedd, ath ddieithr ddyn yr hwn sydd oddifewn dy wersyll———— i fyned o honot tan gyfammod yr Arglwydd dy Dduw.* Gosododd Duw rwymyn ei gyfammod ar blant, er na ddeallent beth yr oeddyd yn ei wneuthur. Am hynny mae'r gwrthddadl hwn yn gymmeint yn erbyn enwaediad plant tan y gyfreith, ac yn erbyn eu bedyddio tan yr Efengyl.

Gwrthdd.

Gwrthdd. Yr oedd enwaediad yn rhwymo i gyfraith Moses, *Gal.* 3. 2, 3. Yr hyn nid yw bedydd.

Atr. Gwir yw, yr ydoedd felly oddiar yr amser y rhoddwyd y gyfraith ar fynydd *Sinai*, eithr nid oedd or dechreuad felly, Canys *nid oedd*
*Jo.* 7. 22. *yr Enwaediad o Moses, eithr or tadau.* Rhoddwyd yr enwaediad ar y Cyntaf yn fél or Cyfammod gras a wnaeth Duw ag Abraham, yr hwn *a gadarnhawyd yngbrist bedwar Cant a deg*
*Gal.* 3. 17. *ar hugain o flynyddoedd Cyn rhoddi'r ddeddf.* Ac am hynny, fel y dywed
*Gal.* 3. 19. yr Apostl, *ni allei'r ddeddf ddirymmu'r Cyfammod hwn.* Yr hon nid oedd ond chwanegiad at y Cyfammod gras; pan dorrwyd ymmaith y Chwanegiad hwn, yr oedd y Cyfammod yn sefyll yn ei symylrwydd cyntaf, a newidiodd Duw yr hen fél o enwaediad, o herwydd ei bod yn rhwymo ir ddeddf, am y fél newydd o fedydd, yr hon sydd yn arwyddocau rhagorfreintiau ysprydol Cyfammod Abraham, yn yr un helaethrwydd ac yr oedd yr enwaediad.

6. Yr oedd Enwaediad yn nód o wahaniaeth rhwng eglwys yr Israeliaid,

aid, ar Cenhedloedd digrêd. Rhyngodd bodd i Dduw i osod y nôd hwn ar y plant, megis ar y rhieni. Ac am hynny geilw Duw hwynt, *ei blant* ef. Yn yr ystyriaeth hon yr oedd y mabwysiad yn perthyn iddynt. *Rhuf.* 9. 4. Y rhai oedd heb y nôd hwn ( neu yn ferched, neu yn wragedd i'r Cyfryw ) a elwir yn Gwn yn yr ysgrythur. *Mat.* 15. 26. *Nid da cymmeryd bara y plant, ai fwrw i'r Cwn.* Y plant oedd yr Iddewon, y Cwn oedd y Cenhedloedd dienwaededig. Ezek. 16. 21.

Yr un modd y mae bedydd yn nôd o wahanieth rhwng yr Eglwys Gristnogol, ac Iddewon, a Phaganiaid di-grêd. Ac fel mae Ewyllys Duw oedd bod ei nôd ef ar blant ei bobl gynt, felly ewyllys yr Arglwydd yw bod ei nôd ef, sef bedydd, ar blant ei bobl yr awrhon; oddi eithr i ni feddwl fod plant y ffyddloniaid yn llai anwyl i Dduw tan yr Efengyl, nac yr oeddent iddo tan y gyfraith. Yr oedd Duw gynt wedi eu nodi hwynt i fod yn eiddo ef ei hun; eiddo pwy ydynt hwy yr awrhon? Os eiddo'r Arglwydd, gadewch i Dduw

i roddi

i roddi ei nód arnynt, i ddangos gwahanieth rhwng ei blant ef a phlant y byd di-gréd. Oni ddaeth Christ *i'n nessau* ni at Dduw? Pa ham gan hynny y pellheir plant ei bobl oddiwrtho ef tan yr Efengyl, y rhai oeddent yn agos atto tan y gyfraith?

Fel hyn y mae'n eglur fod Enwaediad a bedydd yn arwyddocau yr un pethau; ac o herwydd hynny mae bedydd yn perthyn i blant fel yr oedd yr enwaediad.

Gan hynny mae'r Apostl yn dangos fod bedydd wedi dyfod yn lle'r
Col. 2. 11, 12. enwaediad. *Yn yr hwn hefyd i'ch enwaedwyd âg enwaediad nid o waith llaw, trwy ddiosc corph pechodau y cnawd yn enwaediad Christ, wedi eich cydgladdu ag ef yn y bedydd*——— Mae'r Apostl yn y geiriau hyn yn ddangos fod y *Colossiaid* wedi derbyn enwaediad y galon, er eu bod heb yr enwaediad yn y Cnawd, ac yn lle'r enwaediad hwnnw, eu bod wedi eu bedyddio. Megis pe dywedasei, os ydych heb enwaediad yn y Cnawd, y mae gennych chwi ordinhad arall, sef bedydd, i arwyddocau'r un bendithion.

Mae Duw yn cyfri y rhai ni enwaedent ar eu plant yn dorrwyr Cyfammod. *Ar gwryw dienwaededic yr hwn ni enwaeder enawd ei ddienwaediad, torrir ymmaith yr enaid hwnnw o fysc ei bobl: oblegid efe a dorrodd fynghyfammod i.* Torrir enaid oddiwrth ei bobl, naill ai trwy esgymundod, ai trwy farwolaeth, ai trwy ddamnedigaeth, mae pob un yn ofnadwy, yn enwedigol y ffordd ddiwethaf o dorri ymaith enaid, ac yn dangos mor beryglus ydoedd esgeuluso enwaediad plant. Ceisiodd yr Arglwydd ladd *Moses*, o herwydd iddo oedi enwaedu ar ei blentyn, fel y mae'n debygol, i fodloni ei wraig. Da gwna y rhai a esgeulusant fedyddio eu plant ystyried y pethau hyn, canys profason eusus fod bedydd yn perthyn i blant yr awr hon, Fel yr oedd yr enwaediad gynt. *Gen.* 17.14. *Exod.* 4. 24, 25, 26.

Gwrthdd. Yr oedd gorchymyn am enwaedu plant, ond nid oes un gorchymyn am fedyddio plant.

Att. 1. Nid yw'r Testament newydd yn sôn ond ychydic am blant o herwydd bod yr hên Destament yn sôn Cymmaint am danynt, ac yn dywedyd

Deut. 29. 10, 11, 12. dywedyd yn eglur, fod plant y ffyddloniaid ynghyfammod Duw, a bod sêl y Cyfammod yn perthyn iddynt.

Nid yr hen Destament yn unig, nâr Testament newydd yn unig, eithr y ddau ynghyd sydd yn Cynhwyso rheol ffydd ac ufydd-dod. Mae'r Iddewon yn gwrthod y Testament newydd, a rhai Cristnogion yn ein plith ni yn gwrthod yr hen Destament mewn perthynas i ragorfreintiau plant.

2. Mae'n eglur trwy ganlyniad Angenrheidiol oddiwrth yr ysgrythur bod bedydd yn perthyn i blant. Rhan or ysgrythur ydyw Canlyniadau ysgrythurol. Mae Christ yn profi yr adgyfodiad yn erbyn y Saduceaid trwy ganlyniad oddiwrth

Exod. 3. 6. yr ysgrythur honno. *Myfi yw Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob.* Nid oes un gair yn yr ysgrythur hon am yr adgyfodiad, etto mae Christ yn casglu oddiwrthi y rhaid ir meirw godi, *Canys* eb efe,

Mat. 22. 31, 32. *nid yw Duw, Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw.* Y rhai ni dderbyniant Ganlyniadau ysgrythurol am fedydd

dydd plant, ni dderbyniasent ymresymmlad Christ am yr adgyfodiad.

3. Eithr ni a ddangoswn yn y bennod nessaf fod gorchymyn i fedyddio plant.

---

G PEN.

John williams yw gwir berchenog y llyfr hwn
Robert [illegible] 1744.

# PEN. VI.

*Yn profi bedydd plant oddiwrth Orchymyn Christ i fedyddio'r boll Genhedloedd.*

## Rheswn III.

MAT. 28. 19, 20. *Ewch a dysgwch yr holl Genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw'r tad, ar mab, ar yspryd glan, gan ddysgu iddynt gadw pob peth ar a orchymynnais i.*

Yn y geiriau hyn, mae Christ yn gorchymyn. 1. *Ddysgu yr holl genhedloedd.* 2. *Iw bedyddio.* 3. *Iw dysgu.* Dymma ddau fath o ddysgeidiaeth, y naill o flaen bedydd, y llall ar ol bedydd. Ir rhai o edran ymhlith y Cenhedloedd digred yr ydoedd dysgu yn myned o flaen bedydd, ond i blant y Cyfryw yr ydoedd bedydd yn myned o flaen dysgu. Yr un modd ac yr oedd Abraham *tad y Cenhedloedd* wedi ei ddysgu cyn enwaedu arno, eithr ei blant ef oeddent wedi eu henwaedu cyn eu dysgu.

gu. Hon yw ystyriaeth y geisiau, megis y dengys,

1. Oddiwrth addewid Duw i Abraham, Isaac, ac Jacob, mae *yn eu had hwynt y bendithir holl genhedloedd y ddaiar*. Yn awr y mae Christ yn danfon ei Apostolion *at yr holl Genhedloedd* er Cyflawniad yr addewid hon, a rhaid ei chyflawni yn yr un helaethrwydd ac y gwnaethpwyd hi i Abraham, sef *i Dduw fod yn Dduw iddo ef, ac iw had*. Gen. 18. 18. & 22. 18. & 26. 4.

Fe ddaeth Christ *i gadarnhau yr addewidion a wnaethpwyd ir tadau fel y byddei ir Cenhedloedd ogoneddu Duw am ei drugaredd*. Rhuf. 15. 8, 9. Os nid yw Duw *yn Dduw ir Cenhedloedd ac iw had* yn ol yr addewidion a wnaethpwyd ir tadau, mae Christ yn dirymmu, ac nid yn *Cadarnhau'r addewidion*, yr hyn na atto Duw i ni ei feddwl. Rhuf. 15. 8, 9.

2. Yr oedd yr Apostolion yn deall gorchymyn Christ iddynt yn yr ystyriaeth hon. Am hynny pregethent iechydwriaeth *ir rhai a gredei, ac i hawb oi heiddo*. Fel hyn Petr a ddywedodd fod yr Addewid *ir rhai a gredent yngHrist ac iw had*. Paul yntau

Acts 2. 39. a ddywed wrth geidwad y Carchar,
Act.16.31. *Cred yn yr Arglwydd Jesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu.* Mae'n sicer nad aeth yr Apostolion tu hwnt iw Commisiwn, eithr y maent yn Cymhwyso addewid Abraham ir ffyddloniaid ac iw had or Cenhedloedd, am hynny yr oeddent i fedyddio plant y Cenhedloedd.

3. Y mae plant yn rhan or Cenhedloedd, Os oedd yr Apostolion *i fedyddio'r holl genhedloedd*, yr oeddent i fedyddio plant hefyd, Canys y mae plant yn rhan fawr or Cenhedloedd, yn agos i un hanner o honynt. Pan ydyw Duw yn bwgwth *dinistrio yr Cenhedloedd* o flaen yr Is-
Deut. 12. 29. raeliaid, Cynhwysir y plant megis y tadau, canys nid arbedwyd y plant
Josh.16.21. yn amgenach na'r tadau. Or tu arall, pan ydyw Christ yn gorchymyn bedyddio'r *Cenhedloedd*, er jechydwriaeth iddynt, y mae efe yn meddwl y plant megis eu rhieni.

Pe bae gwr yn gorchymyn iw fugail, i gneifio ei holl ddefaid ef a gosod arnynt nód clyst, iw hadnabod oddiwrth ddefaid eraill; er ir bugail gneifio'r defaid, ac nodi hwynt,

hwynt, os gád ef allan yr wyn heb eu nodi, nid yw yn gwneuthur ei ddyledswydd. Os dywed wrth ei feistr, yr oedd yr wyn yn rhy iesaingc iw cneifio; gwir ebe'r meistr, ond nid oeddent yn rhy iefaingc iw nodi, chwi a ddylasech i nodi hwynt, canys rhan fawr ydynt om praidd i.

Os ni all plant bychain dderbyn *addysc*, hwy a allant dderbyn nód Christ, sef bedydd, trwy ba un y gwahenir defaid Christ oddiwrth eifr y diafol. Eglwys Christ yw ei braidd ef, a oes dim wyn yn y praidd hwn? Christ yw'r bugail da a ffyddlon *yr hwn a roddodd ei einioes dros y praidd.* Jo. 10. 11. Ac oni bydd iddo ef ofalu am ei wyn, a gweiniaid ei braidd? Bydd yn sicr, *Canys ai fraich y casgl ef ei wyn, ac ai dwg yn ei fonwes.* *Isa.* 40. 11. Y mae ei eglwys ef *fel diadell o ddefaid a ddae i fynu or olchfa, y rhai sydd bob un yn dwyn dau oen, ac heb un yn ddi-heppil yn eu mysg.* Can. 6. 6. Gadewch *ir wyn* ynteu *gael eu golchi*, fel y maent yn rhan fawr or praidd.

Mae Christ yn gorchymyn i Bedr *borthi ei wyn* cyn gorchymyn iddo Jo. 21. 15, 16, 17.

 *borthi*

*borthi ei ddefaid.* Ac am hynny nid ewyllys Christ ydyw ir bugeiliaid sydd yn porthi'r praidd, esgeuluso yr wyn.

Pan ydyw brenin trwy ei *Charter*, neu escrifen gyhoeddus yn gwneuthur holl drigolion rhyw dref yn rhydd, onid yw'r plant yn gyfrannogion o rydd-did y Charter, er nad yw eu henwau yn neullduol ynthi. Felly mae ymma, mae brenin y nefoedd trwy Charter ei efengyl yn ein
Eph. 2. 19. gwneuthur ni *y rhai oeddem ddieithriaid a dyfodiaid yn gyd-ddinasyddion ar saint*, ac ir diben hynny yn gorchymyn derbyn yr holl genhedloedd trwy fedydd i rydd-did a rhagorfreintiau dinas Duw, ac oni dderbyn ef y plant i rhagorfreintiau eu rhieni? Yr oedd plant yr hên Gaersalem yn gyfrannogion o rhagorfreintiau eu tadau, a phan y gwrthododd hi yr
Gal. 4. 25. Arglwydd Jesu, *caethiwyd hi ai phlant*; ac onid yw plant y Gaersalem newydd yn gyfrannogion o ragorfreintiau eu rhieni? Dywed yr Apostl *fod y Jerusalem honno uchod yn*
Gal. 4. 26. *rhydd, yr hon yw ein mam ni oll.* Os yw Jerusalem yn rhydd, sef ein

mam

mam ni, y mae ei phlant hi yn rhydd hefyd. Ni all y plant fod yn gaeth, ar fam yn rhydd. Na atto Duw ini feddwl fod rhagorfreintiau yr Gaersalem newydd yn dyfod yn fyrr o ragorfreintiau yr hen Gaersalem. Mae'r Apostl yn dywedyd, *fod ir unig* ( sef i eglwys y Cenhedloedd ) *lawer mwy o blant, nac ir hon y mae iddi wr*, sef eglwys yr Iddewon. Os nid yw plant yr Eglwys Gristnogol yn mwynhau rhagorfreintiau eu tadau, *mae iddi lawer llai o blant* nac ir hen Gaersalem. *Gal. 4. 27.*

Gan hynny pan ydyw Christ yn gorchymyn *dysgu'r holl genhedloedd cyn eu bedyddio*, ac ar ol hynny *eu bedyddio cyn eu dysgu*, ei feddwl ydyw, *dysgwch a' bedyddiwch i blannu'r eglwys, bedyddiwch a dysgwch i harhau'r eglwys a blannwyd ymhlith y Cenhedloedd.*

Os dywed neb fod dysgu yn mynd o flaen bedydddio, yr ydym ni yn addef ei fod er plannu eglwys Dduw, eithr y mae bedydd i fyned o flaen dysgu *i harhau'r eglwys hyd ddiwedd y byd*, ac am hynny, ebe Christ, *wele yr ydwyfi gydâ chwi bob amser hyd ddiwedd y byd.* *Mat. 28. 20* PEN.

# PEN. VII.

*Yn profi y dylid bedyddio plant y ffyddloniaid o herwydd eu bod yn ſancteidd,* 1 *Cor.* 7. 14.

## Rheſwm IV.

OS yw plant y ffyddloniaid yn *ſanctaidd*, mae bedydd yn perthyn iddynt; canys addef pawb fod ſancteiddrwydd yn rhoddi hawl i fedydd, os addefant bod ffydd yn rhoddi hawl, yr hon yw gwreiddyn ſancteiddrwydd mewn rhai o oedran.

Eithr pa fodd y dengys eu bod yn *ſanctaidd?* Mae'r yſpryd glan yn dywedyd felly. 1 *Cor.* 7. 14. *Pe amgen aflan yn ddiau fyddei eich plant, eithr yn awr ſanctaidd ydynt.* Mae'r Apoſtl yn y geiriau hyn yn atteb i amheuaeth rhai or Corinthiaid a gredent, *a oedd gyfreithlon iddynt drigo yn y ſtât briodas gydâ rhai di-gred.*
*Ezr.* 9.1,2, 3,4. *Pen.* 10. Nid heb achos yr oeddent yn ammheu hyn, o herwydd i Ezra orchymyn

mynn bwrw ymaith wragedd eulun a-
ddolgar ynghyd ai plant. Mae Paul 1 Cor. 7. 12,
yn atteb, na ddylent wneuthur felly 13.
ynawr.

1. O herwydd y sancteiddir y gwr
digred trwy'r wraig sy'n credu, ar
wraig ddigred a sancteiddir trwy'r
gwr syn credu.

2. Mae'r plant a enir yn y Cy-
fryw stat yn *sanctaidd*, fel pe bae'r
ddau yn credu.

Eithr y questiwn yw, ymha ysty-
riaeth y maent yn *sanctaidd*. Siccr yw,
mae nid meddwl yr Apostol yw, bod
y cyfryw blant yn blant *cyfreithlon*
yn unig, ac nid yn *fastardiaid*, Ca-
nys ni chymmerir y gair *sanctaidd*
mewn un lle yn yr scrythur yn yr
ystyriaeth hon, ac y mae plant y pa-
ganiaid digred yn blant Cyfreithlon,
nid bastardiaid monynt. Mae prio-
das yn ran o gyfraith natur, *ac yn
anrhydeddus ymhawb.* Ai bastardi-
aid yw pawb nid ydynt yn credu?
pwy yn ei gwbl synwyr a ddywed
mae hyn yw meddwl yr Apostol, *Os
y gwr ar wraig sydd ddigred mae'r
plant yn fastardiaid, eithr os un o ho-
nynt sydd yn credu mae'r plant yn gy-
freithlon.*

*freithlon.* Diau fod Duw yn yr fcrythur hon yn gofod allan ryw ragorfraint priodol i blant y ffydloniaid, yr hwn nid yw yn perthyn i blant eraill. *Nid ydynt hwy aflan fel eraill, eithr y maent yn fanctaidd.*

Fel y byddoi ni ddeall meddwl yr yfpryd glan, ni yftyriwn beth yw iddynt fod yn *aflan* yn yr yfgrythur, a beth yw bod yn *fanctaidd.* 1. Beth yw bod yn *aflan?* Att. Rhai aflan yw,

1. Rhai allan o gyfammod Duw. Am hynny medd yr Arglwydd, *Ifa.* 52. 1. *Ni ddaw o'th fewn mwy ddienwaededic, nac aflan.* Plant *dienwaededic* heb nôd yr Arglwydd arnynt, *aflan* oeddent, yr oeddent allan o gyfammod Duw; fel hyn yr oedd plant y Cenhedloedd digred yn aflan, ac nid oedd enwaediad, fél Cyfammod Duw, yn perthyn iddynt. Yr un modd y mae plant y Twrciaid, ar Iddewon, ar Paganiaid di-gred yn aflan yr awrhon, o herwydd eu bod allan o gyfammod, ac nid yw bedydd, fél y Cyfammod, yn perthyn iddynt. Os oedd y dienwaededic yn aflan, y mae'r di-fedydd yn aflan,

aflan, canys daeth bedydd yn lle'r enwaediad, fel y profasom or blaen.

2. Rhai aflan yw y rhai a gaewyd allan oddiwrth ragorfreintiau eglwys Dduw. Nid oedd i neb aflan ddyfod ir gynnulleidfa, er nad oedd eu haflendid ond aflendid Ceremonaidd. Caewyd *Miriam* o'r tu allan ir gwersyll pan ydoedd tan aflendid gwahan-glwyfus. Yr oedd yr Iddewon yn cyfrif yr holl genhedloedd dienwaededic yn aflan, ac yn neullduo oddiwrthynt. Am hynny nid ae Petr i bregethu'r Efengyl ir Cenhedloedd, nes i Dduw ei berswadio ef trwy weledigaeth na Chyfrifei mor Cenhedloedd yn aflan mwyach, o herwydd dattod Canolfur y gwahaniaeth rhwng y Cenhedloedd ar Iddewon. Fel hyn yr addef Peter pan ddaeth at *Cornelius.* *Chwi a wyddoch mae anghyfreithlon yw i wr o Iddew ymwascu, neu ddyfod at alltud; eithr Duw a ddangosodd i mi, na alwn neb yn gyffredin, neu yn aflan.* Yr oedd Petr yn cyfri'r Cenhedloedd dienwaedic yn *aflan*, hynny yw, allan o eglwys Dduw, a'i rhagorfreintiau, eithr yr awrhon mae'n deall

*Lev.* 5. 2, 3, 4. & 14, 7, 8.

*Eph.* 2. 14.

*Act.* 10. 28.

Act. 10. 35. deall *fod ymhob cenhedl y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder yn gymmeradwy ganddo ef*, ac am hynny nad yw'r Cyfryw yn aflan, ac allan o eglwys Duw.

Yr hyn a ddywed yr Apostl Peter am Cornelius, *nad oedd iw gyfri yn aflan mwyach*, y mae Paul yn ei ddywedyd am blant y ffyddloniaid, nad ydynt *yn aflan*; ac am hynny fel y derbyniodd Peter Gornelius i eglwys Dduw trwy fedydd, gan ddysgu iddo ffordd yr Arglwydd yn fanylach, felly y dylid derbyn plant y ffyddloniaid i eglwys Dduw trwy fedydd, canys nid ydynt aflan, ac iw cae allan o eglwys Dduw.

Y rhai a gaeyd allan tan y gyfraith o herwydd rhyw aflendid, nis derbynnit drachefn nes eu golchi a

Lev. 15. 5, 6, 7, 8, 10. & 17. 15, 16. dwfr. Felly plant bychain o herwydd llygredigaeth naturiol ydynt aflan, eithr trwy gyfammod Duw, a golchiad dwfr, megis arwydd or Cyfammod, hwy a lanheir.

Fel hyn y gwelwn ni beth yw bod yn aflan, sef bod allan o gyfammod Duw, a bod heb ddim hawl i ragorfreintiau eglwys Dduw. Yn yr

ysty-

ystyriaeth hon nid yw plant y ffyddloniaid yn aflan, fel y mae plant y rhai digred.

Q. Beth yw iddynt fod yn sanctaidd?

Atteb. 1. Bod yn sanctaidd yw bod mewn Cyfammod â Duw. Pob peth a neullduwyd i Dduw sanctaidd ydyw. Am hynny pethau wedi neullduo ir Arglwydd a elwir yn sanctaidd, yn yr ystyriaeth hon yr oedd y Dabernacl, y Deml, ar llestri oedd ynthynt yn sanctaidd. Felly amserau a neullduid ir Arglwydd sanctaidd oeddent, yn yr ystyriaeth hon mae'r Sabbath yn sanctaidd, o herwydd ei fod wedi neullduo i addoliad a gwasanaeth Duw. Yr un modd personau wedi neullduo i Dduw, sanctaidd oeddent, fel hyn yr oedd yr offeiriaid ar Leviaid yn sanctaidd. Je yr oedd holl genhedl yr Iddewon yn sanctaidd, o herwydd eu bod wedi neullduo oddiwrth genhedloedd eraill i fod yn bobl gyfammodol i Dduw. *A chwi a fyddwch i mi yn frenhiniaeth o offeiriaid ac yn genhedlaeth sanctaidd. Pobl sanctaidd ydwyt ti ir Arglwydd dy Dduw.* Yn yr ystyriaeth

קדש *ab usu communi ad divinum separatus Schind.*

*Lev.* 21. 6, 7, 8.

*Exod.* 19. 6

*Deut.* 7. 6. & 14. 2.

eth hon yr oedd nid yn unig y rhieni, ond y *plant yn sanctaidd. Had sanctaidd* oeddent, wedi neullduo i Dduw gydâ eu tadau. Os oedd yr holl genhedlaeth, yr holl bobl yn sanctaidd, yr oedd eu plant felly,

*Deut.* 29. 10, 11, 12. Canys rhan fawr or bobl oeddent: Ac yr oeddent ynghyfammod Duw megis eu tadau, ac yr oedd nod y Cyfammod arnynt. Am hynny gelwir yr holl genhedlaeth, sef y rhieni



*Ezra* 9. 2. ar plant, *yn had sanctaidd*, ai cnawd yn *gnawd cyssegredic*, *Jer.* 11. 15. O herwydd enwaedu arno, ai neullduo i Dduw. Gelwir eu plant yn had sanctaidd. *Onid un* [ wraig ]

*Mal.* 2. 15. *a wnaeth efe? ar yspryd yngweddill gantho; a pha ham un? i geisio had duwiol.* Yr had a enir ir ffyddloniaid mewn priodas gyfreithlon had Duwiol, had sanctaidd ydyw. Mae

*Ezek.* 16. 20, 21. Duw yn galw'r cyfryw, *ei blant ef, a blantwyd iddo ef.*

Fel yr oedd gynt, felly mae dan y Testament newydd, gelwir y rhai a neullduwyd ir Arglwydd trwy fedydd yn *genhedl sanctaidd*, felly dywed Pedr wrth yr Iddewon a gredasei.

1 *Pet.* 2. 9. *Yr ydych chwi yn frenhinol offeiriadaeth*,

*riadaeth, yn genhedl sanctaidd, yn bobl briodl i Dduw.* Y mae yn ei galw wrth yr un enwau anrhydeddus ac a roddodd Duw iddynt or blaen. Felly mae'r Apostl Paul yn galw'r Christnogion *yn saint* yn ei lythurau at eglwysi'r Cenhedloedd ; o herwydd eu bod wedi eu neullduo trwy Gyfammod, a rhwymedigaeth bedydd i fod yn eiddo'r Arglwydd. Ac y mae nid yn unig y rhieni a gredant, ond eu plant hefyd yn *saint*, fel y dywed yr Apostl, *Eithr yn awr sanctaidd ydynt.*

*Exod.* 19. 6

*Rhuf.* 1. 7.
2 *Cor.* 1. 1.

1 *Cor.* 7. 14.

Yr ydym yn barnu rhai mewn oedran yn *sanctaidd* o herwydd eu bod wedi ymneullduo ir Arglwydd mewn proffes o sancteiddrwydd, er ei bod yn rhy fynych yn broffes ragrithiol ; ac oni farnwn ni blant y ffyddloniaid yn *sanctaidd*, y rhai y mae Duw yn ei galw felly ? Yr ydym ni yn barnu rhai o oedran yn sanctaidd, mewn barn o gariad, er ein bod yn fynych yn camgymmeryd, ac yn newid ein barn am danynt ; a pha ham na farnwn mor gariadus am blant y ffyddloniaid eu bod yn sanctaidd, gan fod Duw wedi

dl eu neullduo iddo ef i hun mewn cyfammod o ras? wrth farnu rhai o oedran yn sanctaidd yr ydym yn ymddiried i'n barn ein hunain, ond pan ydym yn barnu plant ffyddloniaid yn sanctaidd, yr ydym yn ymddiried i farn Duw, yr hwn sydd yn eu galw yn sanctaidd yn ei air, ac yn eu cynhwyso yn yr un addewid a'u tadau. A siccr ydyw, y sancteiddir llawer o honynt oi mebyd trwy ras yr adenedigaeth fel y cawn ni weled yn y man, ac ni ellir dywedyd am yr un o honynt yn eu mebyd ein bod yn siccr na ailanwyd mono, fel y gellir dywedyd am rai o oedran sydd yn byw yngwrthwyneb iw proffes.

Isa. 52. 1. Rhuf. 1. 7. 1 Cor. 1. 2. 2. Bod yn sanctaidd yw bod yn aelodau o eglwys Dduw. Fel y mae y rhai allan allan or eglwys, felly y sanctaidd ydynt aelodau o eglwys Dduw. Gelwir holl aelodau'r eglwys weledig yn saint.

Ni all neb ammeu nad oedd plant y ffyddloniaid yn aelodau o eglwys Dduw cyn dyfodiad Christ, ni ddaeth Christ i bwrw hwynt allan: fel y profasom or blaen. Mae Mr. *Tombs*, (yr hwn a scrifennodd yn erbyn bedydd

dydd plant ) yn addef os yw plant yn aelodau or eglwys weledig y dylid eu bedyddio. Canys bedydd yw'r drws trwy yr hwn y deuir i mewn i eglwys Dduw.

Y rhai a ddywedant nad ydynt yn aelodau or eglwys a ddylent ddangos scrythur eglur i ni am eu bwrw allan. Dangosent os gallant un eglwys o amser Adda hyd yr oes ddiwethaf, or hon nid oedd plant bychain yn aelodau, os oedd plant iddi. Bydded iddynt enwi un Patriarch, un Prophwyd, un Apostl, neu athro oedd yn erbyn hawl plant bychain i fod yn aelodau or eglwys, o ddechreuad y byd hyd yr oes ddiwethaf. Os bwrwyd hwynt allan pa fodd y digwyddodd nad oes un gair yn yr scrythur yn sôn am hynny? Galwch am scrythur oddiwrth y rhai a fynnant siglo eich ffydd chwi ynghylch y rhagorfraint hwn.

Yr oedd yr Iddewon a gredent yn ddigllon iawn wrth Paul am ei fod yn erbyn enwaedu ar eu plant, pa fodd y tramgwyddasent, pe buasei Paul yn bwrw eu plant allan or eglwys, ac yn eu gosod yn yr un cy- *Act.* 21.20, 21.

 flwr

ffwr a phlant y rhai digred. Nid yw neb yn rhoddi hynny yn ei erbyn ef, achwynasent yn ddiau arno pe dysgasci'r cyfryw athrawiaeth.

Os nid yw plant y ffyddloniaid yn aelodau o eglwys Dduw, y maent yn aelodau o deyrnas Satan, yr hwn yw tywysog y byd. Os ydynt allan o'r eglwys pa obaith o jechydwriaeth iddynt? *Nid oes jechydwriaeth allan o eglwys Dduw.* Etifeddiaeth yr eglwys yw'r Addewidion, nid yw'r addewidion yn perthyn ir rhai oddiallan, ac am hynny os yw plant oddiallan *ymblith y Cwn*, pa addewid a berthyn iddynt? A ph'le nid oes addewid, nid oes gobaith o jechydwriaeth, Canys yr addewid yw sylfaen gobaith. Beth a ddywedwch chwi rieni tyner wrth y pethau hyn? Oni ewyllysiech fod eich plant yn gadwedig? oni ddymunech alaru am y rhai sy'n marw o honynt yn eu mebyd tan obaith eu bod yn happus, ac *nid tristau megis eraill, y rhai nid oes ganthynt obaith.* O na fwrwch monynt allan o eglwys Dduw, allan o gyfammod jechydwriaeth! Eich plant anwyl ydynt, plant

Jo. 12. 31.
Rhuf. 9. 4.
Datc. 22. 15.
1 Thes. 4. 13.

plant eich cyrph, *plant eich addunedau*, o dangoſwch iddynt *drugaredd Duw.* Mae eglwys Duw yn ewyllyſgar iw derbyn, o na rwygwch mo honynt oddiwrth y corph dirgel hwnnw o ba un y maent yn aelodau. Noah a *baratodd Arch* i achub ei blant, canys gwyddei nad oedd jechydwriaeth allan or Arch, yr hon oedd yn arwydd o eglwys Dduw: ac a bydd i chwi daflu eich plant allan or Arch *a baratodd Duw* iddynt? O na fyddwch mor greulon iw heneidiau hwynt, y rhai ewyllyſiech yn dda iw Cyrph. Derbyniwch hwynt i Arch Duw fel yr *achubir hwynt trwy ddwfr.* Na neccewch *arwydd ſancteiddrwydd* ir rhai a fernir gan Dduw ei hun yn *ſanctaidd.* 1 *Pet.*3.20

PEN.

## PEN. VIII.

*Yn profi y dylid bedyddio plant, o herwydd i Grist iw bendithio.*

### V. Rheswm.

Lu. 18.15, 16, 17. Mat. 19. 13, 14. MAR. 10. 13, 14, 15, 16. *A hwy a ddygasant blant bychain atto, fel y cyffyrddai efe a hwynt, [fel y rhoddei ei ddwylo arnynt ac y gweddiei, Mat. 19. 13.] ar dyscyblion a geryddasant y rhai oedd yn eu dwyn hwynt. Ar Jesu pan welodd hynny fu anfodlon, ac a ddywedodd wrthynt, Gedwch i blant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch iddynt; canys tiddo y Cyfryw rai yw teyrnas Dduw. Yn wir meddaf i chwi, pwy bynnag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn-bach, nid â efe i mewn iddi. Ac efe au cymmerodd hwy yn ei freichiau, ac a roddes ei ddwylo arnynt, ac ai bendithiodd.*

Mae *Matthew*, *Mark*, a *Luke* yn gosod ar lawr yr histori hon ynghylch derbynniad plant bychain, ai

ai groesaw at yr Arglwydd Jesu Ghrist.

Yn yr ysgrythur hynod hon, ystyriwn,

1. Pwy a ddygpwyd at yr Arglwydd Jesu. Dywed y Text mae *plant bychain* oeddent, y cyfryw a *gymmerir mewn breichiau.* Yr ydym yn troi'r un gair ( παιδίον ) yn *faeb-gennyn* am Joan fedyddiwr, pan oedd newydd eni. Yr un gair a droir *dyn bach* am Grist pan oedd wyth niwrnod oed. Lu. 1. 59, 66, 76. παιδίον. Lu. 2. 21.

Mae *Luc* yn eu galw ( τὰ βρέφη ) *plant bychain.* Y gair a arferir am Joan fedyddiwr ynghroth ei fam. Yr un enw a roddir i Grist pan rwymwyd ef mewn cadachau yn y preseb. Lu. 18. 15. Lu. 1. 41. τὸ βρέφος. Lu. 2. 12.

Mae'n eglur gan hynny nad oedd y plant a ddygpwyd (fel y mae'n debygol gan eu rhieni duwiol) at Grist ond bychain jawn, nid oeddent o oedran i ddyfod eu hunain atto ef, nac i broffessu eu ffydd ynthorref.

2. Pa ham y dygwyd hwynt at Ghrist? *fel y rhoddei ei ddwylo arnynt, ac y gweddiei.* Yr oedd y rhai

ai dygodd at Chrift yn credu y gallent dderbyn bendith *trwy arddodiad dwylo, a gweddiau Christ.* Er nad oedd y plant bychain yn deall yn brefennol beth ydoedd Chrift yn ei wneuthur iddynt, etto trwy addyfc eu rhieni gallent wybod yn ol hyn. Ni wyddei Petr beth oedd meddwl Chrift yn golchi ei draed ef, ac etto nid oedd y weithred yn ofer. *Y*
Jo. 13. 7. *peth yr wyfi yn ei wneuthur, ni wyddost ti yr awrhon; eithr ti a gei wybod yn ol hyn.*

Fel yr oedd y rhieni hyn yn dyfod ai plant at Chrift iw bendithio, felly yr ydym ninnau yn eu dwyn at Chrift trwy fedydd i dderbyn ei fendith ef. Paham na allant dderbyn bendith oddiwrtho yr awron megis yn nyddiau ei gnawd? a gyfyngwyd ei ymyfcaroedd ef tuag attynt? Onid
Heb. 13.8. *yr un yw efe heddyw, ddoe ac yn dragywydd?* Os ydyw Chrift yn eu gwneuthur yn gyfrannogion oi erfyniau, ac yn eiriol troftynt, nid ydynt hwy or byd, canys *nid yw yn*
Jo. 17. 9. *gweddio tros y byd, ond tros y rhai a roddodd y tad iddo, canys eiddo ef ydynt.* As os nid yw plant y ffyddloniaid

loniaid o'r byd, ond yn eiddo Christ, gadewch iddynt ddyfod atto, a derbyn ei nod ef, sef bedydd.

3. *Y discyblion a geryddasant y rhai oedd yn eu dwyn hwynt.* Mae'n debygol na wnaethont felly o eisiau cariad at blant, nid oeddent mor galon-galed a hynny, ond o herwydd nad oedd plant yn deall yr hyn a wneid iddynt, a bod gan Ghrist ddigon o waith ynghylch rhai mewn oedran, fel nad oedd gantho amser i ymdrin â phlant bychain.

Yr oedd ganthynt feddyliau dirmygus am blant bychain, fel y mae gan rai hyd y dydd hwn. *Fe all gwir ddiscyblion fod yn rhwystr i blant bychain ddyfod at Ghrist.* Nid yw'n canlyn fod pob peth yn ddrwg yr hyn y mae rhai pobl dda yn ei farnu felly. Mae'r discyblion yn ceryddu eraill mewn Zêl anystyriol pan yr oeddent yn haeddu cerydd eu hunain. Yr oeddent yn tybied eu bod yn anrhydeddu Christ, pan ddywedent wrth y bobl am gadw ei plant gartref, ac *na flinent mo'r athro*, eithr y mae Christ yn Iachawdwr i blant

hefyd,

hefyd, ac nid yw yn diystyru y rhai a ddygir atto, am hynny

4. *Bu Ghrist anfodlon* wrth ei ddiscyblion, ἠγανάκτησε, yr oedd wedi *sorri* wrthynt, neu yr oedd yn *ddigllon* wrthynt, fel y troir y gair mewn lleoedd eraill. *Mat.* 20. 24. *Lu.* 3. 14. Mae'r gair yn arwyddocau y cyfryw flinder, a galar ac sydd yn torri'r galon. I ddangos i ni mor fawr oedd Cariad Christ at blant bychain, a bod y rhai a rwystrant blant i ddyfod atto yn cyffroi ei ddigofaint yn eu herbyn. Yr ydym yn darllain i Ghrist 'geryddu ei ddiscyblion ar achosion eraill, yn enwedigol Petr, eithr ni ddywedir mewn un lle *gyffroi ei ddigofaint* yn eu herbyn, ond yn yr achos hwn, am blant bychain. Am hynny nid pechod bychan iw eu rhwystro i ddyfod at Ghrist i dderbyn ei fendith ef.

*Vid. Scapul. in* ἀγανακτέω.

5. *Ceryddodd ei ddiscyblion*, gan ddywedyd, *gedwch i blant bychain ddyfod attaf, ac na waherddwch iddynt.* Ni allei plant ddadleu trostynt eu hunain, mae Christ yn dadleu trostynt, ac yn dysgu iw ddiscyblion

blion i fod yn dynerach eu barn am blant bychain o hyn allan. Mae difrifwch ei yspryd yn ymddangos, gan ei fod yn dywedyd yr un peth ddwy waith. *Gedweh iddynt ddyfod attafi, na waherddweh iddynt.*

Ni buasei yr Arglwydd Jesu mor ddigllon wrth ei ddiscyblion, ac mor ewyllysgar i dderbyn plant bychain, oddieithr eu bod yn anwyl iddo. Gwyddei Christ eu bod ynghysammod Duw, a'i bod tan enwaediad, sêl y Cysammod, ac na ddaeth efe iw bwrw allan o gysammod Duw, ond yn hytrach i chwanegu eu rhagorfreintiau. Megis pe dywedasei, *derbyniodd fy nhad hwynt, cyn fy nyfodiad i'r cnawd, gadeweh iddynt ddyfod attaf finnau hefyd, yr hwn a gymmerais eu natur hwynt arnaf. Ni wrthodasi mor rhai a dderbyniodd fy nhad.*

6. Mae efe yn rhoddi'r rheswm pa ham y mynnei iddynt ddyfod atto ef. *Canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw.* *Mar.* 10. 14. Neu *teyrnas nefoedd, Mat.* 19. 14. Nid yn unig eiddo'r rhai sydd *debyg* i blant bychain, eithr eiddo *y Cyfryw*

I *blant*

Lu. 18.17. *blant bychain*, sef plant y ffyddloniaid sydd mewn cysammod a Duw, *Eiddo'r cyfryw rai yw teyrnas nefoedd*. *Y cyfryw rai*, yw y *rhai hyn*. *Eiddo y rhai hyn yw teyrnas nefoedd*, felly
Gal. 5.23. cymmerir y gair, *Gal.* 5. 23. *Heb.*
πιότων. 13. 16. *Jo.* 3. 8. Ac mewn amryw leoedd eraill. Ac eglur yw, mae felly y dylem ddeall yr Arglwydd Jesu ynghylch plant bychain, Canys pa ham yr oedd yn ddigllon wrth ei Apostolion am eu rhwystro i ddyfod atto, pa ham y bendithiodd hwynt, oddi eithr bod ganthynt hawl i deyrnas nefoedd? Onid gwyrdroi rheswm Christ y mae y rhai a fynnei iddo ddywedyd fel hyn, *gedweh i blant bychain ddyfod attafi, canys nid eiddont hwy yw teyrnas nefoedd, ond eiddo y rhai sydd debyg iddynt*.

Yn ol yr Opinion ffol hwn nid oes i blant bychain ddim a wnelont a
Mat. 10.16 theyrnas nefoedd. Rhaid i ni fod yn debyg i golomennod, i ddefaid, je mewn rhai pethau i seirph, eithr ni chymmerodd Christ y rhai hyn yn ei freichiau, ac nis bendithiodd, ac nis dywedodd am danynt, *Eiddo y*

*cyfryw*

*cyfryw yw teyrnas nefoedd*, fel y gwnaeth â phlant bychain.

Q. Beth yw teyrnas nefoedd? Atr. Wrth deyrnas nefoedd y mae ini ddeall naill a *theyrnas gras*, ai ynteu *teyrnas gogoniant*. y ai teyrnas

1. Weithiau wrth deyrnas nefoedd y mae i ni ddeall *teyrnas gogoniant*. Os eiddo plant bychain yw teyrnas gogoniant, os caent hwy i derbyn ir nefoedd, y mae bedydd yn perthyn iddynt. I bwy y perthyn bedydd os yw *etifeddion teyrnas nefoedd* yn anheilwng o honaw? *Mat*. 19 73 & 5. 3,10. & 25. 34.

2. Weithiau wrth deyrnas nefoedd y mae i ni ddeall *teyrnas gras*, sef eglwys weledig Dduw ar y ddaiar. Hwn yw un or enwau priodol a roddir i eglwys Dduw tan yr Efengyl, nid ydym yn ddarllen am dani tan yr enw o *deyrnas nefoedd* yn yr holl hên Destament, datcuddiwyd teyrnas nefoedd trwy'r Efengyl. Hi a nessaodd trwy weinidogaeth Christ a'i Apostolion. Felly *teyrnas nefoedd* yw eglwys Dduw tan yr Efengyl, o'r eglwys efangylaidd hon y mae plant y ffyddloniaid yn aelodau. *Eidont hwy yw teyrnas nefoedd*, fel y dywed *Mat*. 3. 2. & 4. 17. & 10. 7. & 25. 1.

wed Chrift. Eiddont hwy oedd teyrnas, neu eglwys Dduw cyn dyfod Chrift, yr oeddent yn aelodau o honi, ac yr oedd ganthynt hawl iw rhagorfreintiau: Y mae Chrift yn ficcrhau eu hawl i deyrnas nefoedd, fef ir eglwys Efangylaidd ai rhagorfreintiau, ni ddaeth efe iw bwrw allan o eglwys Dduw, eithr i ficcrhau hwynt yn eu hen ragorfreintiau, megis aelodau o'r eglwys weledig. Ac os ydynt aelodau or eglwys weledig, megis y mae yn ficcr eu bod hwynt, fe ddylid eu derbyn i mewn trwy ddrws bedydd.

7. *Efe au cymmerodd hwy yn ei freichiau.* Yr ydoedd y weithred hon yn arwydd oi gariad ef attynt, Y rhai dderbynniodd Chrift yn ei freichiau a ddylei'r eglwys dderbyn yn ei monwes. Os yw efe yn eu

*Heb.* 2.13. cofleidio megis tad iddynt, oni ddylei ei briod ef eu cofleidio megis mam dyner iddynt. Iddi hi y perthyn eu *golchi* au meithrin. Rhagddywedir am blant eglwys y Cenhedloedd, *yna y fugnweh, ar ei byftlys hi i'th ddygir,*

*Ifa.* 66.12. *ac ar ei gliniau i'ch diddenir.* Ni fynnei Duw ir eglwys Griftionogol fod

yn

yn fwy annaturiol iw phlant nac oedd eglwys yr Iddewon.

8. *Efe a roddes ei ddwylo arnynt.* Yr oedd arddodiad dwylo yn arwyddocau 3 o bethau yn y Testament newydd,

1. Jachâad clefydau. Nid ir diben hyn y gosododd Christ ei ddwylo arnynt, Ni buasei'r Apostolion mor greulon ai rhwystro i ddyfod at Grist i jachau eu clefydau. *Lu.* 4. 40.

2. I neullduo rhai ir weinidogaeth. Nid ir diben hwn y gosododd Christ ei ddwylo arnynt. *Act.* 13. 3.

3. Yr oeddid yn arddodi dwylo er *Conffirmasiwn* ar ol bedydd, peth arferol ymhlith yr Apostolion oedd arddodi dwylo ar y rhai a fedyddid fel y derbynnient yr yspryd glan. Ac o herwydd bod arddodiad dwylo yn canlyn bedydd, gosodir y ddau ynghyd. *Heb.* 6. 2. *i athrawiaeth bedyddiau, ac arddodiad dwylo.* Ir diben hwn gan hynny y mae'n debygol i Ghrist osod ei ddwylo arnynt iw conffirmio, trwy dderbyn yr yspryd glan. Nid oes ini dybied mae ofer oedd yr arwydd hon, yr ydoedd yn rhinweddol i gyfrannu bendith *Act.* 8. 14. 15, 16, 17. & 19. 6.

yſprydol. Os gall plant bychain
dderbyn yr yſpryd glan (fel y mae'n
ſiccr y gallant, *Lu.* 1. 15, 44.) pwy
*Act.* 10.47. a *all lluddias dwfr, fel na fedyddier
y rhai ſydd yn derbyn yr yſpryd glan,
fel ninnau.*

*Gwrthddywediad*, Nid diben Chriſt
oedd rhoddi'r yſpryd glan trwy ar-
*Jo.* 7. 39. ddodiad dwylo, *Canys nid oedd yr yſ-
pryd glan wedi ei roddi etto.*

*Atteb*, Gwir yw, nid oedd wedi ei
roddi *yn ei ddoniau rhagorol*, fel y
rhoddwyd ef ir Apoſtolion ar ol eſ-
*Act.* 2.1,2, gynniad Chriſt i'r nefoedd, eithr yr
3-- oedd wedi ei roddi o ddechreuad y
byd *yn ei raſuſau ſafadwy* ir Ethole-
digion, ac os rhoddodd Chriſt ei yſ-
pryd i blant bychain megis yſpryd
ſancteiddrwydd iw hail eni, mae
hynny yn ddigon, ie mae hynny yn
fwy na'r donian rhyfeddol a gafodd
eraill, Canys graſuſau ſafadwy yr yſ-
*Heb.* 6. 9. pryd yw'r *pethau gwell hynny ſydd
ynglyn wrth iechydwriaeth.*

9. *Efe a'i bendithiodd hwynt.* Hyn
oedd diben y rhai ai dygent atto ef,
fel y byddei iddynt dderbyn ben-
dith oddiwrtho ef, hwy a wyddent
fod plant ynghyfammod Abraham, a
bod

bod Duw yn Dduw iddynt hwy megis ac yr oedd iw rhieni; megis y cyfryw blant oedd *yngbyfammod Duw*, ac yn *perthyn i deyrnas nefoedd*, y mae Christ yn eu derbyn, ac yn eu bendithio, â bendithion ysprydol yn ddiammeu, yn ol natur y Cyfammod ar deyrnas yr oeddent yn perthyn iddynt.

Y neb y mae efe yn eu bendithio bendigedig ydynt, nid yw ei fendithion ef yn ofer. Nid ydym yn darllen iddo roddi ei ddwylo ar neb *iw bendithio* ond ar blant bychain, ac ar ei Apostolion; gan hynny yr oedd y *Lu.* 24.50, 51.
naill ar llall yngyfrannogion o ragorfreintiau priodol.

Os ydyw plant bychain yn derbyn *bendithion ysprydol* oddiwrth yr Arglwydd Jesu, pwy a all neccau bedydd iddynt, yn arwydd or bendithion hynny?

Gosodwn y pethau hyn ynghyd, ac fe fydd eglur fod bedydd yn perthyn i blant y ffyddloniaid.

Gwrthdd. Mae'r scrythur hon yn gweithio ynom ni feddyliau anthydeddus am blant y ffyddloniaid, ac am eu rhagorfreintiau, sef eu bod

yn

yn anwyl gan Ghrist, bod teyrnas nefoedd yn perthyn iddynt, eu bod yn fendigedig, &c. eithr nid ydym ni yn darllen i Ghrist eu bedyddio hwynt.

Atteb. 1, Ni fedyddiodd Christ ei hun neb. *Joan.* 4. 2. Pe buasei yn bedyddio neb, nid oes ammeu na fedyddiasei efe blant bychain, Canys y mae'n dangos mwy o ofal drostynt, mwy o gariad iddynt, a mwy o barodrwydd i derbyn hwynt, nac y mae tuag at un radd arall o ddynion.

2. Nid oedd raid i bedyddio hwynt yr awrhon, Canys yr oeddent wedi eu bedyddio or blaen gan *Joan Fedyddiwr*, fel y profwn ni yn y man. Ac am hynny y mae Christ yn gosod ei ddwylo arnynt i bendithio hwynt, Yr oedd arddodiad dwylo yn canlyn bedydd, fel y profasom or blaen ( *Act.* 18. 17. *Heb.* 6. 2. ) ac yr addef llawer or rhai sydd yn erbyn bedydd plant, Canys gosodant ddwylo ar y rhai y maent wedi eu hail-fedyddio. Ni allant hwy ddangos un siampl yn yr holl Destament newydd i Ghrist neu ei Apostolion *roddi eu ddwylo ar neb*

*cyn*

*eyn eu bedyddio*, oddi eithr ar rai clefion i iachau hwynt. Ac os felly, yr oedd y plant hyn wedi eu bedyddio pan osododd Christ ei ddwylo arnynt. Ni ddycpwyd hwynt atto ef iw jachau, nid yw'r scrythur yn son am ddim clefydau oedd arnynt, ond yn hytrach i dwyn hwynt at Ghrist *fel y gweddiei ef trostynt, ac y bendithiei ef hwynt.*

3. Pe digwyddasei fod y plant hyn heb eu bedyddio, mae Christ trwy ei ymresymmiad, ai ymddygiad attynt yn dangos fod bedydd yn perthyn iddynt. Mae *yn eu cofleidio, yn gosod ei ddwylo arnynt, yn eu bendithio*, ac yn dywedyd *o'r cyfryw y mae terynas nefoedd*, nid yn unig or rhai hyn, ond or *Cyfryw* ac oeddent hwy, sef o blant y ffyddloniaid hyd ddiwedd y byd *y mae teyrnas nefoedd.* Je y maent hwy nid yn unig yn aelodau eu hunain *o deyrnas nefoedd*, eithr yn siamplau o ddiniweidrwydd, a gostyngeiddrwydd i bawb eraill, rhaid iddynt fod fel plant bychain, os ant i mewn i deyrnas nefoedd. *Mat.* 18. 3.
Teyrnas Dduw tan yr Efengyl a wneir i fynu *o blant, ac o rai sydd de-* 1 *Cor.* 14. 20.

*byg*

*byg iddynt*, o blant megis yr aelodau puraf o honi, heb eu llygru gan bechodau gweithredol, ac o rai mewn oedran sydd yn marwhau'r llygredigaethau hynny a dysodd gydâ hwynt; *or cyfryw rai* mae teyrnas nefoedd.

Hyn am yr ysgrythur hynod hon sydd yn gosodd allan ymddygiad Christ at blant bychain, yr hon sydd mor gyflawn yn dal allan eu hawl hwynt i fedydd, ac y mae hi yn ddigonol yn unig i siccrhau yr pwngc hwn, pe ni bae un arall yn yr holl fcibl.

RR N.

## PEN. IX.

*Fe a ddylid bedyddio plant, o herwydd impio'r Cenhedloedd i ragorfreintiau'r Iddewon.*

### Rheswm VI.

RHuf. 11. 15, 16, 17. *Canys os sanctaidd y blaen ffrwyth, y mae'r clamp toes hefyd yn sanctaidd, ac os sanctaidd y gwreiddyn, y mae'r canghennau hefyd felly. Ac os rhai o'r Canghennau a dorrwyd ymmaith, a thydi yn olewydden wyllt a impiwyd i mewn yn eu plith hwy, ac a'th wnaethpwyd yn gyfrannog o'r gwreiddyn, ac o frasder yr olew-wydden.* 23. *A hwythau, onid arhosant yn anghredini-aeth, a impir i mewn.*

Yn yr ysgrythur hynod hon y mae'r Apostl yn dangos,

1. Fod yr Iddewon tra'r oeddent hwy yn eglwys weledig i Dduw *yn genedl sanctaidd*, nid yn unig y rhieni, ond y plant hefyd. Yr oedd yr *holl gangbennau yn sanctaidd*, o herwydd

wydd bod *y gwreiddyn yn ſanctaidd.* Y gwreiddyn oedd Abraham, ac eraill or tadau; o herwydd eu bod yng-hyſammod Abraham, yr oedd y rhieni ai plant *yn ſanctaidd*, wedi eu neullduo yn bobl briodol i Dduw, yn yr yſtyriaeth hon yr oeddent oll yn *ſanctaidd.* O herwydd bod y *blaenffrwyth*, ſef Abraham, *yn ſanctaidd*, yr oedd yr *boll glamp toes befyd yn ſanctaidd.* Abraham, yr hwn a gredodd yn gyntaf, ac a dderbyniodd Gyſammod Duw iddo ef ai had, oedd blaen ffrwyth yr Iddewon. Megis yr oedd yr yſcub flaenffrwyth a offrymmid ir Arglwydd yn ſancteiddio'r holl ffrwythau, felly yr ydoedd ffydd y rhieni cyntaf yn ſancteiddio holl genhedl yr Iddewon, nid â gwir ſancteiddrwydd yn y galon, Canys yr oedd llawer o honynt yn annuwiol, ond *â ſancteiddrwydd Cyſammôdol*, o herwydd eu bod nhwy ai had wedi eu neullduo i Dduw mewn Cyſammod tragywyddol.

*Rhuf.* 11. 28.
*Iſa.* 51. 1, 2.
*Lev.* 2. 3, 9, 10---17.

2. Y rhai o honynt a dderbyniodd yr Efengyl, parhaſant yn *gangbennau ſanctaidd*, ar yr un *gwreiddyn ſanctaidd.*

*idd.* Yr oeddent hwy ai had ynghy-
fammod Abraham megis or blaen.
Ni thorrwyd yr un gangen ymmaith,
na bychan na mawr, nes iddynt wr-
thod yr Arglwydd Jesu. Y rhai a
dorrwyd ymmaith hwy a dorrwyd
ymmaith o herwydd anghredinlaeth.
*Rhuf.* 11. 20. *Trwy angbrediniaeth y
torrwyd hwy ymmaith.* Y rhai gan
hynny a gredodd yn Ghrist ni thorr-
wyd hwy ymmaith ddim; ac os ni
thorrwyd hwynt ymmaith yr oeddent
mewn undeb ar gwreiddyn, yn gy-
frannogion o frasder y gwreiddyn
megis or blaen. Yr oeddent hwy ai
plant yn gyfrannogion ei hên ragor-
freintiau, yn *gangbennau sanctaidd*,
heb eu torri ymmaith.

Y neb sydd yn erbyn bedydd plant
y maent yn torri ymmaith y cang-
hennau, y rhai ni thorrodd Duw er
joed, sef had y ffyddloniaid. Y
maent yn ysgythru y pren ffrwyth-
lon yn y winllan ac yn gosod y fwy-
wall ar ei ganghennau, mewn modd
rhyfygus.

3. Pan wrthododd yr Iddewon
ras Duw yn yr Efengyl, gwrthododd
Duw y genhedl honno, nid yn unig

y rhieni, ond y plant hefyd. Nid arbedodd Duw y *Cangbennau naturiol*, eithr torrodd hwynt ymmaith. Torrwyd hwynt, *nid oddiwrth yr Eglwys anweledig*, o'r hon nid oedd y rhai anghredinlol yn aelodau. Nid oes neb yn aelodau o'r eglwys anweledig ond yr Etholedigion, ni wrthododd Duw neb or rheini. *Ni wrthododd Duw ei bobl, y rhai a adnabu efe or blaen. Y mae Cadarn sail Duw yn sefyll.* Gan hynny hwy a dorrwyd trwy anghrediniaeth oddiwrth yr Eglwys weledig, o ba un yr oeddent hwy a'i plant yn aelodau.

Rhuf. 11. 17, 20,21.

Rhuf.11.2. 2 Tim.2.19

4. Impiwyd y Cenhedloedd yn eu lle hwynt. *A thydi yn olewydden wyllt a impiwyd i mewn yn eu plith hwy, ac ath wnaethpwyd yn gyfrannog or gwreiddyn, ac o frasder yr olewydden.* Y mae impiad y Cenhedloedd i mewn yn gyfattebol i dorriad ymmaith yr Iddewon. Fel y torrwyd hwynt ymmaith, felly yr impir ninnau. Torrwyd hwynt ai plant ymmaith, impir y Cenhedloedd a'i plant i mewn, Canys derbyniwyd hwynt ir un ragorfreintiau ac a gollodd yr Iddewon. Y maent *yn gyfrannogion*

Rhuf. 11. 17.

*frannoglon or gwreiddyn*, *ac o frasder yr Olewydden*, megis yr oedd yr Iddewon or blaen. Y mae'r un ragorfreintiau yn perthyn iddynt yn yr un helaethrwydd, canys impiwyd hwynt ir gwreiddyn hwnnw, oddiwrth ba un y torrwyd ymmaith yr Iddewon. Yr oedd *brasder yr olewydden* yn gwasgaru trwy bob cangen o eglwys yr Iddewon, bychain a mawrion, sef y rhieni ar plant: Yr un modd y gwnaethpwyd y Cenhedloedd *yn gyfrannogion o'r gwreiddyn*, *ac o frasder yr Olewydden*: Y mae'r canghennau lleiaf o eglwys y Cenhedloedd, sef plant bychain yn derbyn yr un rhinwedd oddiwrth y gwreiddyn, ac oeddent gynt. Pwy a faidd dorri y rhelni ymmaith a impiodd Duw ei hun i mewn a'i law ei hun.

Yr impiad hwn sydd ir eglwys weledig, al rhagorfreintiau, yn gyfattebol i dorriad ymmaith yr Iddewon oddiwrth yr eglwys weledig. Gan hynny y mae ein plant ni y Cenhedloedd yn aelodau o honi, fel yr oedd plant yr Iddewon gynt. *A'i ir Iddewon y mae efe yn Dduw yn unig ? onid yw ir Cenhedloedd hefyd ?* *Rhuf. 2. 29. Eph. 3. 6.*

Os oedd yn Dduw ir Iddewon ai had, *yn wir y mae ir Cenhedloedd hefyd.*

5. Mae'r amser yn dyfod yr Impir had Abraham, neu'r Iddewon drachefn iw gwreid yn eu hun. Y mae'r hen Destament ar Newydd yn llawn o broffwydoliaethau hynod am droedigaeth yr Iddewon. Yn awr, os impir y Canghennau naturiol drachefn, oni byddant oll *yn gyfrannogion or gwreiddyn, ac o frasder yr olewydden?* Na atto Duw i ni feddwl y torrir ymmaith eu had hwynt megis canghennau crinion, heb dderbyn dim nawdd oddiwrth y gwreiddyn? Os torrir ymmaith gynniter or Canghennau naturiol, pa fodd y mae'r Apostl yn dywedyd *yr impir hwynt i mewn?* Oni ddangosasei yr Apostl y gwahaniaeth mawr hwn rhwng eu himpiad hwy ai tyfiad cyntaf? Mae efe yn dywedyd, *ac felly holl Israel a fydd Cadwedig,* hynny yw, nid yn unig y rhieni ond eu plant hefyd, fef yr holl genhedl honno fyddant yn eglwys weledig i Dduw, megis or blaen. *A'i caredigion ydynt o ran etholedigaeth* oblegit y tadau? ac a

Rhuf. 11. 23. i'r diwedd.

Rhuf. 11, 23.

Gwers 26.

Gwers 28.

bydd ei Dduw gwttogi *cyfammod y tadau ?* Onid *diedifarus yw doniau,* Gwers 29.
*a galwedigaeth Duw ?* Os torrir ymmaith gynnifer or Canghennau ac ydyw plant y ffyddloniaid, *y mae doniau a galwedigaeth Duw yn edifarus.*

Gosodwn y pethau hyn ynghyd, 1. Fod yr Iddewon ai had, megis Canghennau naturiol yn derbyn rhinwedd oddiwrth y gwreiddyn cyn dyfodiad Christ. 2. Iddynt hwy ai had barhau yn yr un gwreiddyn trwy ffydd ynghrist. 3. Y rhai ni Chredodd, torrwyd hwynt ai had oddiwrth y gwreiddyn. Ac ni thorrwyd yr un gangen ond trwy anghredinIaeth. 4. Impiwyd y Cenhedloedd, megis canghennau gwylltion, iw lle hwynt, fel y derbynient ragorfreintiau y Canghennau naturiol iddynt hwy ai had. 5. Impir yr Iddewon etto iw gwreiddyn eu hun, a derbynianteu hen ragorfreintiau iddynt hwy ai plant. Adferir y canghennau naturiol ir ragorfreintiau a gollasant. Oddiwrth y cyfan y mae yn eglur fod plant y ffyddloniaid yn aelodau o eglwys Dduw gyda eu rhieni, ac yn gyfrannoglon oi rhagorfreintiau hwynt.

## PEN. X.

*Fe a ddylid bedyddio plant y ffyddloniaid, o herwydd y gallant fod yn gyfrannogion o'r hyn a arwyddoceir wrth fedydd.*

### Rhefwn VII.

OS gall plant y ffyddloniaid fod yn gyfrannogion or bendithion a arwyddoceir mewn bedydd, hwy a ddylent fod yn gyfrannogion o fedydd. Os yw y Gras anweledig yn perthyn iddynt, ni ellir neccau yr arwydd weledig iddynt.

Y mae bedydd yn arwyddocau 3 o bethau, y rhai a all plant bychain fod yn gyfrannogion o honynt.

1, Y mae'n arwyddocau maddeuant pechod trwy rinwedd gwaed
Mar. 1. 4. Christ. *Act. 2. 38. Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Jesu Ghrist, er maddeuant pechodau.* Gwir yw, mae edifeirwch yn myned o flaen bedydd mewn rhai o oedran nis bedyddiwyd or blaen. Eithr y mae yn

yn eglur yn yr ysgrythur hon fod bedydd yn arwyddocau maddeuant pechod trwy Jesu Ghrist.

Beth yw hyn meddwch chwi i blant bychain? y mae'r ystyriaeth hon yn perthyn iddynt ddwy ffordd. 1. Mae arnynt eisiau maddeuant, Canys genir hwynt mewn pechod. 2. Y mae llawerodd o honynt yn derbyn maddeuant o bechod yn eu mebyd. Canys y mae llawer o honynt yn marw yn eu mebyd, ac yn mynd ir nefoedd, p'le ni all neb fyned heb faddeuant pechod. Mae yn sicer gennifi na ddywed y rhai sydd yn erbyn bedydd plant, *eu bod hwy oll yn ddamnedig, ac nad oes yr un o honynt yn myned ir nefoedd.* Gen. 17. 7.

Yr awrhon, os yw plant bychain yn derbyn maddeuant pechod, oni ddylent dderbyn bedydd hefyd yn arwydd gweledig o faddeuant?

Chychwi rieni pechadurus a draddodasoch lygredigaeth i'ch plant, os ydynt yn derbyn natur glefydus oddiwrthych chwi, oni ddylech gyfrannu'r feddyginiaeth iddynt, cyn belled ac y mae ynoch chwi. Y mae Duw yn ei gyfraith yn cospi *y gwr* *Exod.* 21. 33.

a

J732 I: JONA H.

*a agorei bydew, ac heb gau arno.* Yr ydych chwi trwy genhedliad naturiol wedi egor *pydew llygredigaeth gwreiddiol*, oni ddylech chwi hyd eithaf eich gallu geisio *cau arno*, gan roddi iddynt yr Ordinhad o fedydd yr hon a appwyntiodd Christ ir diben hynny, fel na syrthiont ir *pydew diwaelod*.

2. Y mae bedydd yn arwyddocau
*Act.* 2. 38. tywalltiad yr yspryd glan. Y mae'n
*Tit.* 3. 5. sicer y gall plant bychain dderbyn
yr yspryd glan *o groth eu mammau*,
*Lu.* 1. 15. fel y derbynniodd *Joan fedyddiwr*.
Gwir yw, derbyniodd Joan yr yspryd mewn modd anarferedig, eithr pwy a all ddyweyd nad ydyw llawer o blant bychain yn derbyn yspryd Duw mewn mesur digonol i jechydwriaeth yn ein dyddiau ni? *a fyrhawyd yspryd yr Arglwydd?* Oni
*Mic.* 2. 7. thywelltir ef yn helaethach tan yr
Efengyl nac or blaen? Addewid fawr yr Efengyl yw addewid yr yspryd, ac y mae Duw yn addo ei yspryd i hád y ffyddloniaid tan yr Efengyl. Tywalldaf fy *yspryd ar dy*
*Isa.* 44. 3. *hâd, am bendith ar dy biliogaeth. A*
*minnau dymma fyngbyfammod â hwynt,*

medd

*medd yr Arglwydd, fy yspryd yr hwn* *Isa.* 59.21.
*sydd arnatt, am geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy had, nac o enau hâd dy hâd, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth.* O *enau plant bychain, a rhai yn* *Joel* 2. 28.
*sugno y peraist nerth.* Y mae yr scry- *Ps.* 8. 3.
thurau hyn yn sôn am dywalltiad yr yspryd tan yr Efengyl ar had y Duwiol, megis eu had hwynt, a hynny pan byddont yn sugno ar y bronnau. Y mae'r addewidion hyn ac amryw eraill megis canghennau or addewid fawr honno, *y bydd Duw*
*yn Dduw i had y ffyddloniaid.* Y *Gen.* 17. 7.
mae efe *yn Dduw iw had* hwynt yn eu mebyd, pan ydynt yn sugno ar y bronnau, ac am hynny y mae yn tywallt ei yspryd ar lawer o honynt yn eu mebyd. Os yw Duw yn eiddo plant y ffyddloniaid, beth a rwystr i yspryd Duw fod yn eiddont hwy? Y mae Duw yn ffyddlon iw addewidion.

Os ydynt yn derbyn yspryd Duw, mae'n eglur fod bedydd yn perthyn
iddynt, yn ol geiriau Petr. *A all neb* *Act.* 10 47.
*luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn,*

*hyn, y rhai a dderbyniasant yr yspryd glan, fel ninnau.*

Na fydded neb mor fanwl a gofyn pa fodd y gall plant newydd eni dderbyn yspryd Duw. Canys y mae gweithrediadau yr yspryd yn ddirgel jawn i ni ar y rhai sydd mewn oedran, pa faint mwy ar blant bychain.
Jo. 3. 8,9. *Y mae'r gwynt yn chwythu lle y mynno,*
*a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost*
*o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y*
*mae yn myned; felly y mae pob un a'r*
*a aned or yspryd.* Y mae gweithrediadau yspryd Duw mewn pethau naturiol uwchlaw ein dealltwriaeth ni, pa faint mwy mewn pethau ys-
Preg. 11. 5. prydol. *Megis nas gwyddost ffordd yr*
*yspryd na pha fodd y ffurfheir yr esgyrn yngbroth y feichiog: felly ni wyddost waith Duw, yr hwn sydd yn gwneuthur y cwbl.*

3. Y mae bedydd yn arwyddocau yr adenedigaeth. Am hynny gel-
Tit. 3. 5. wir ef *golchiad yr adenedigaeth.* Mae'n
Jo. 3. 5. bossibl i blant bychain gael eu hail
eni, beth a all rwystro i anfeidrol ras weithio ar eu calonnau hwynt? *san-*
Jer. 1. 5. *cteiddiwyd Jeremi o groth ei fam* nid
yn unig trwy ei neullduo i fod yn brophwyd,

brophwyd, ond hefyd trwy hau had gras yn ei galon ef, yr hwn a dyfodd ac a ymddangosodd yntho pan ydoedd yn fachgennyn jefangc. Felly Joan fedyddiwr. *Jer.* 1. 6. *Lu.* 1. 44.

Mae gan blant bychain lestri ehang i dderbyn gras Duw, er bod eu cyrph yn dyfod iw maintioli o ychydig i ychydig, y mae eu heneidiau mor berffaith eu sylwedd ac eneidiau rhai o oedran. Yspryd yw'r enaid, ac nid ydyw yn tyfu yn ei sylwedd megis y mae y Corph. Nid yw eneidiau plant bychain ddim llai nac eneidiau rhai oedrannus, y mae yr holl wahaniaeth sydd rhwng y naill ar llall yn sefyll ymmaintioli'r Corph, ac ynghynneddfau eu heneidiau.

Gan hynny hawdd yw i Dduw i roddi *cynheddfau sanctaidd* mewn eneidiau plant. Pe safasei adda ein tad cyntaf ni, buasei ei holl hád éf *yn sanctaidd or bru*, oni all Duw adferu ei ddelw eu hun ar blant bychain trwy yr ail Adda, yr hon a gollasont trwy'r Adda cyntaf?

Nid ydwyfi yn dywedyd fod holl blant y ffyddloniaid yn derbyn gras yr adenedigaeth yn eu mebyd, Canys

nys y mae'r gwrthwyneb yn eglur, mae llawer o honynt yn myned yn annuwiol. Megis *Cain* ac *Esau*.

Eithr or tu arall y mae gwaith o ras yn ymddangos mewn eraill o honynt yn foreu jawn, dydd i ddydd a ddengys wybodaeth o hyn, mae amryw siamplau or cyfryw blant grasol iw gweled beunydd mewn teuluoedd Duwiol. Mae Mr. *James Janeway* mewn llyfr Saesnaeg bychan yn gosod i lawr lawer o siamplau hynod or natur hyn. Arferei tad Mr. *R. B.* ddywedyd am dano i fod yn credu *sanctеiddio ei fab R. or groth.*

Janeway's *LittleBook to Little Children.*

Gellir dywedyd am lawer o blant y Duwiol yr hyn a ddywed yr yspryd glan am *Samuel* jefangc, *fel y maent yn cynnyddu eu bod yn myned yn dda gan Dduw a dynion hefyd.* 1 *Sam.* 2. 26. Pan ydoedd *Salomon* yn blentyn bychan jawn *yr Arglwydd ai carodd efe*, ac am hynny galwyd ei enw ef *Jedidiah*, *sef anwyl gan yr Arglwydd.*

Vid. *Dr.* Bates *his Sermon at the Funeral of Mr.* B.

*See Mr.* Eliot's *Tears of Repentance, who speaks of Two* Indian *Children converted before Three years old.*

Eithr

Eithr i dynny ymmaith bob amheuaeth, ac i wneuthur y peth yn eglur i bawb. Ni all neb fod yn gadwedig heb sancteiddrwydd. Canys ni all dim aflan etifeddu teyrnas Duw, *Eph.* 5. 5. *Dat.* 21. 27. Ond y mae rhai plant bychain sydd yn marw yn eu mebyd yn gadwedig, yr hyn ni allant hwy fod heb sancteiddrwydd. *Heb.* 12. 14

Mae'n canlyn gan hynny, fod bedydd yn perthyn i rai plant bychain. Os sancteiddir, os aileni hwynt, ni ellir ammeu nad yw *golchiad yr adenedigaeth* yn perthyn iddynt, fe ddylei'r arwydd ar hyn a arwyddoccir fyned ynghyd, sef golchiad dwfr, a golchiad yr yspryd.

Gwrthdd. Pe gwyddem ni pa blant bychain sydd wedi eu haileni, ni ai bedyddien hwynt.

Att. Ni ellir gwybod hynny yn sicer am rai mewn oedran, ac am hynny ni ellir bedyddio neb wrth y gwrthresswm hwn. Mae'n ddigon yn yr achos hwn fod addewid Duw yn perthyn i blant y ffyddloniaid, ai bod hwynt yn aelodau or eglwys weledig, *trwy ba un y mae llinyn etholedigaeth*

Rhuf. 9. 4, 6, 7. & 11. 7. *ledigaeth Duw yn rhedeg.* Megis gynt yr oedd holl had Abraham yn blant yr Addewidion, ac yn derbyn arwydd weledig o gyfammod Duw, eithr nid oedd neb ond yr etholedigion yn derbyn gras safadwy trwyddynt hwy. Felly yr awron, mae holl blant y ffyddloniaid tan yr Addewidion, eithr y mae Duw yn cyfrannu gras yr addewidion ir etholedigion yn unig, ac i lawer o honynt hwy yn eu mebyd: Eithr o herwydd na wyddom ni ar bwy mae etholedigaeth yn syrthio, ewyllys Duw ydyw i ni fedyddio pawb sydd tan yr addewid.

---

PEN.





# PEN. XI.

*Am ffurf bedydd Cyn y Gyfraith a than y gyfraith, oddiwrth ba un y dengys y dylid bedyddio plant tan yr Efengyl.*

## Rheswm VIII.

YR oedd amyrw fedyddiadau Cyn y gyfraith, a than y gyfraith (yrhai oeddent yn ffurf ac yn arwydd o arferiad bedydd tan yr efengyl) ac yn yr holl fedyddiadau hynny bedyddiwyd plant gydâ eu rhieni.

I. Bedyddiwyd Noah ai blant yn yr Arch. *Yn yr hon* (sef yr Arch) 1 Pet. 3.
*ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd* 20.
*trwy ddwfr*; *Cyffelybiaeth cyfattebol ir hwn, sydd yr awrhon yn ein hachub ninnau, sef bedydd.* Nodwn oddiwrth yr ysgrythur hon, 1. Fod y diluw yn arwyddocau bedydd, *ᾧ ϗ ἀντίτυπον Antitype, arwydd gyfattebol*; yr oedd yr Arch yn arwydd o Ghrist, allan o ba un nid oes iechydwriaeth, ac

 yr

yr oedd y diluw ſef y dwfr a dywalltwyd or nefoedd ar yr Arch, ac ar Noah ai blant ynthi yn arwyddocau fod Chriſt yn ein hachub ni trwy fedydd. Yr oed bedydd Noah yn arwyddocau jechydwriaeth trwy Griſt felly mae'n bedydd ni tan yr Efengyl. 2. Achubwyd Noah ai blant trwy fedydd y diluw. Bedyddiwyd ac achubwyd hwynt er ei ſwyn ef. Gwir yw, yr oeddent mewn oedran, eithr nid er mwyn eu ffydd eu hunain (yr hon nid oedd gan Cham) ond er mwyn ffydd Noah yr achubwyd hwynt. Nid yw'r Scrythur yn ſon am eu ffydd hwynt, eithr am ffydd Noah eu tad hwynt,
Heb. 11. 7. yr hwn *trwy ffydd wedi ei rybuddio gan dduw am y pethau nis gwelſid etto, gyda pharchedic ofn a ddarparodd Arch i achub ei dy.* Achubodd ei hun ai oſ trwy ei ffydd. Am dano ef (nid am ei blant) y tyſtiolaetha Duw,
Gen. 6. 9, 10. *Noah oedd wr cyfiawn, perffaith yn ei oes, gyda Duw y rhodiodd Noah*, ac y mae yn Canlyn, *a Noah a genhedlodd dri o feibion, Sem, Cham, a Japheth.* Ac o herwydd ei bod yn blant iddo, mae Duw yn eu derbyn hwynt

hwynt (ai gwragedd y rhai oeddent yn un cnawd â hwynt) ir Arch. *Ond â thi y cadarnhâf fyng-hyfammod, ac ir Arch yr ei di tydi ath feibion, ath wraig, a gwragedd dy feibion gyda thi.* Cadarnhaodd Duw ei gyfammod â Noah trosto ef ei hun ai deulu. Credodd Noah, a bedyddiwydd ef ai deulu yn y diluw. Gen. 6. 18.

Yn hyn yr oedd ei fedydd ef yn *gyffelybiaeth gyfattebol* o'n bedydd ni, Canys pan gredei pennau teuluoedd yn amser yr Apostolion, bedyddid hwynt ai teuluoedd. Felly pan *gredodd Lydia, bedyddiwyd hi ai Theulu.* Eithr ni a soniwn yn helaethach am hyn yn ol llaw. Act. 16. 14, 15.

II. Derbyniodd Jacob blant bychain i Gyfammod Duw trwy fedydd, *Gen.* 35. 2. *Yna Jacob a ddywedodd wrth ei deulu, ac wrth y rhai oll oedd gydag ef, bwriwch ymaith y Duwiau deithr sydd yn eich plith chwi,* ac ymlanhewch, *a newidiwch eich dillad.*

Ystyriwch yma, 1. Fod Jacob yn rhwymo ei holl deulu, ar rhai oll oedd gydag ef i fyned mewn Cyfammod a Duw, gan fwrw ymaith eu

Gen. 14. 14. Dowiau dieithr. *Y rhai oedd gydag ef* oedd y Cenhedloedd a dderbyniasei'r wir grefydd. Cenhedloedd oedd y rhan fwya oi deulu, fel yr oeddent o deulu Abraham. 3. Derbyniodd hwynt i gyfammod Duw *trwy fedydd*, neu *olchiad dwfr*. Canys dywedodd wrthynt, *ymlanhewch, a newidiwch eich dillad.* הטהרו *mundate vos ablu-endo.* * Mae'r gair yn arwyddocau glanhau trwy olchiad dwfr, *Lev.* 13. 6. Yr oedd yr Enwaediad wedi mynd yn ffiaidd yngolwg y Cenhedloedd, o herwydd ei feibion Jacob ei gwneuthur yn Ordinhad o farwolaeth ir *Sichemiaid*, *Gen.* 34. am hynny y mae *Jacob* yn derbyn ei gwragedd ai plant (canys lladdasid y gwyr) i gyfammod Duw trwy olchiad dwfr, neu fedydd. Yn ol siampl *Jacob* arferei'r Iddewon fedyddio pawb or Cenhedloedd a dderbynient enwaediad. Canys fel hyn y dywed eu gwyr doethion hwynt, *nid yw neb yn brofelyt, nes ei enwaedu ai fedyddio.* Ac yr oeddent yn bedyddio'r plant gydâ'r rhieni—— קטון *bedyddier rhai bychain yn ol ordinhad y Cyngor.* Maim. in Lightf. ibid.

Gen. 17. 13. 23.

* Shindl. pent. in voce טהר.

Gen. 34. 29.

Mghtf. vol. 1. p. 210.

III. Be-

III. Bedyddiwyd yr Israeliaid ai plant yn y Cwmwl ar mor. 1 *Cor.* 10. 1, 2. *Ac ni fynnwn i chwi fod heb wybod, frodyr, fod ein tadau ni oll tan y Cwmwl, am myned oll trwy y môr, a'u bedyddio hwy oll i Moses, yn y Cwmwl ac yn y môr.* Daliwn sulw oddiwrth yr ysgrythur hon,

1. Fod mynediad Israel tan y Cwmwl a thrwy'r môr yn fedydd iddynt. Glawiodd y Cwmwl arnynt, a diferodd y môr arnynt, yr hwn oedd megis mur uchel or ddeutu iddynt ac yn rhuo trwy ddwyreinwynt tymhestlog. Bedyddiwyd hwynt trwy dywalltiad, neu daenelliad dwfr arnynt. *Exod.* 14. 21.

2. Yr oedd y bedydd hwn yn y sylwedd o honaw yn arwyddocau yr un peth a bedydd yr Efengyl, sef yr Arglwydd Iesu Ghrist ai fendithion. Golchiad ysprydol yn y mor, ar ddiod ysprydol or graig a arwyddocaent yr un peth, sef, Ghrist. Efe oedd sylwedd holl gysgodau'r Gyfraith. Y colofn o Gwmwl, ar colofn o dân a ragddangosent fedydd dwfr a bedydd tân, sef bedydd yr yspryd, dan yr Efengyl. Descynlanhau *1 Cor.* 10. 2, 3, 4.

niad y glaw or Cwmwl a arwyddocå tywalltiad yr yspryd or nefoedd, i lanhau eu calonnau. Dygir y bedydd hwn iw Coffadwriaeth yn Ezek. 16. 9. *Mi ath olchais â dwfr.* Mae duw yn addo ei yspryd yn yr
Ezek. 36. 25, 26. un dull o ymadrodd. Ezek. 36. 25, 26. *Mi a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân.*

1 Cor. 10. 2. Gwir yw, yr ydoedd y bedydd yn y Cwmwl ar mór yn eu rhwymo hwynt *i gyfraith Moses*, eithr Christ
1 Col. 2. 16, 17. ai ddoniau oedd diwedd y gyfraith honno.

3. Bedyddiwyd y plant gydâ eu
1 Cor. 10. rhieni â bedydd *Moses. Bedyddiwyd hwy* oll i *Moses*, medd yr Apostl. Bedyddiwyd pawb a aeth *trwy'r mór a than y Cwmwl*, sef yr holl gynnulleidfa or hen dadau, y rhieni ai plant, yr oeddent *yngbylch chwe chan*
Exod. 12. 37. *mil o wyr traed, heb law plant.* Ni allei bod llai na Chan mil o blant yn y gynnulleidfa luosog hon, ac etto bedyddiwyd hwy oll ynghyd ai tadau. Pan y dywedwn ir Apostolion fedyddio *teulnoedd cyfain*, fe atteb rhai, pa fodd y gwyddoch fod plant yn y teuluoedd hynny? Eithr siccr yw fod

ſod plant ynghynnulleidfa Iſrael, ai bedyddio hwy oll yn y Cwmwl ar môr.

Os bedyddiwyd plant â *bedydd Moſes*, pwy a all luddio iddynt *fedydd Chriſt?* Mae'r ddau yn arwyddocáu yr un peth yn ol eu ſylwedd. A yw bedydd Chriſt yn gyfyngach na bedydd Moſes, yr Efengyl yn gyfyngach na'r gyfraith? ai ewyllys Duw oedd bedyddio plant i *Moſes*, ai ni fyn ef fedyddio plant i *Ghriſt* hefyd? Os gallent fod yn ddiſcyblion i Moſes, pa ham na allant fod yn ddiſcyblion i Ghriſt hefyd. *Rhoddwyd y gyfraith trwy Moſes, ond y grâs ar gwirionedd a ddaeth trwy Jeſu Ghriſt.* Jo. 1. 17. A ydyw grâs ar gwirionedd yn gyfyngach na'r gyfraith? Pa fodd y gellir dywedyd *amhlau grâs* tan yr Efengyl os yw bedydd Moſes yn helaethach na bedydd Chriſt? Nid oedd Moſes ond *gwâs* yn y ty, eithr Chriſt yw'r *mab* yr hwn a adeiladodd y tŷ, a ydyw adeiliad y *Mab* yn gyfyngach nac adeiliad y *gwâs*? Pa ynfydrwydd yw hyn, i dderchafu'r gwas uwchlaw'r mab, ⁊ gwneuthur ei ganlynwyr ef yn amlach na chanlynwyr ei Arglwydd?

IV. Be-

IV. Bedyddiwyd y rhieni ai plant wrth roddi'r Gyfraith ar fynydd Si-
Exod. 19. nai. *Dos at y bobl, a sanctieiddia*
10. *hwynt, a golchant eu dillad.* Yr oedd golchiad y dillad, a golchiad y cnawd
Gwel yn myned ynghyd. *Levit.* 15. 5, 6.
Levit. 15. *golched ei dillad ac ymolched mewn*
8, 13, 16, *dwfr.* Wedi ymolchi fel hyn, dy-
18, 21, 22, wed yr Apostl fod yr holl bobl yn
27. & 8. 6. mynd i Gyfammod â Duw trwy fe-
Heb. 9. 19. dydd. *Canys wedi i Moses adrodd yr holl orchymmyn, yn ol y gyfraith wrth yr holl bobl, efe a gymmerodd waed lloi a geifr, gydâ dwfr——ac ai taenellodd ar y llyfr ar bobl oll.* Mae'r Apostl yn galw'r taenelliad hwn yn
κ) διαφό- fedydd, *Heb.* 9. 10. *Amryw fedyddi-*
ρεις βαπ- *adau.* Oddiwrth yr ysgrythurau
τισμοῖς. hon y canlyn,

1. Fod taenelliad dwfr yn wir fedydd.

2. Fod Duw yn derbyn y bobl iw gyfammod trwy fedydd, neu daenelliad dwfr a gwaed. Nid yw Moses yn sôn ond am daenelliad gwaed
Exod. 24. 8 yn unig, eithr y mae Paul yn dywedyd

dyd daenellu'r dwfr gydâ'r gwaed. Yr oedd y ddau yn arwydd o gyfammod Duw. Ac y maent felly tan yr Efengyl. *Y mae tri yn tystiolaethu* 1 Jo. 5. 8.
*ar y ddaiar, yr yspryd, a'r dwfr, a'r gwaed.*

3. Taenellwyd y dwfr ar gwaed ar yr holl bobl. *Efe ai taenellodd ar* Heb. 9.19.
*y llyfr, a'r bobl oll.* Pwy oedd y bobl hyn ? Pawb a aethant mewn cyfammod â Duw. *A dywedodd Mo-* Exod. 24.8
*ses, wele waed y Cyfammod yr hwn a wnaeth yr Arglwydd a chwi.* Yr oedd y plant yn mynd mewn Cyfammod â Duw Megis eraill. *Yr ydych chwi* Deut. 29.
*oll yn sefyll heddyw ger bron yr Ar-* 10, 11, 12.
*~~glwydd, pennaethiaid eich llwythau,~~ eich henuriaid, a'ch swyddogion, a holl wyr Israel: eich plant, eich gwragedd* —— *i fyned o honot dan gyfammod yr Arglwydd dy Dduw.* Yr oedd y plant yn ymddangos yn y gynnulleidfa o flaen yr Arglwydd, ac yn myned dan ei gyfammod ef, ac am hynny bedyddiwyd hwy â gwaed a dwfr, megis eraill. Cyfammod o râs oedd y Cyfammod hwn yn ol ei sylwedd, Canys *cyssegrwyd ef trwy* Heb. 9. 18.
*waed.*

*waed.* Ac os cafodd plant eu bedy-
ddio ir Cyfammod hwn gynt, oni
ddylent gael eu bedyddio iddo yr
awrhon? Yn enwedigol o herwydd
bod grâs y Cyfammod wedi amlhau
dan orchwyliaeth yr Efengyl, ar
rhagorfreintiau o honaw yn fwy he-
laeth.

---

**PEN.**

## PEN. XII.

*Mae gan blant hawl i fedydd, o herwydd i Joan fedyddio plant yn ol arferiad eglwys yr Iddewon.*

### IX. Rheswm.

OS bedyddiodd Joan blant bychain, mae bedydd yn perthyn iddynt yn wastadol, Canys yr un oedd sylwedd bedydd Joan, a bedydd yr Apostolion. Yr oedd ef yn bedyddio i enw Christ i ddyfod, yr oeddent hwythau yn bedyddio i enw Christ yr hwn oedd wedi dyfod.

Eithr yr hyn yr ydym iw brofi yn y bennod hon yw i Joan fedyddio plant bychain. I amlygu hyn, ystyriwn,

1. Ni ddaeth Joan Fedyddiwr i ddirymmu Cyfammod Abraham, ond yn hytrach i gyflawni ef. Cyfammod Abraham oedd, *y byddei Duw yn Dduw iw bobl ac iw had.* Yr oedd holl eglwys weledig yr Iddewon yn y Cyfammod hwn. Mae

Mat. 3. 9. Joan yn eu rhybuddio na ymddiriedont i ragorfreintiau y Cyfammod hwn trwy fyw yn annuwiol; eithr nid ydyw mewn un lle yn dirymmu y Cyfammod hwn, ond yn hytrach yn ei ficcrhau, gan ddywedyd y cyfyd Duw blant eraill i Abraham, os ni ddug yr Iddewon *ffrwythau addas i edifeirwch.*

Fe ddaeth i fedyddio hâd Abraham, y rhai oeddent oll ynghyfammod Duw, nid yn unig y rhieni, ond y plant hefyd. Ac am hynny yr oedd gan y plant yr un hawl i fedydd ac oedd gan y rhieni, o herwydd eu bod yn hâd Abraham. Yr oedd ei fedydd ef or un helaethrwydd ac enwaedlad, megis yr oedd yr holl wlad tan yr Enwaedlad, felly y mae Joan yn eu derbyn iw fedydd, ni wrthododd ef neb a ddeuei iw fedydd ef, eithr derbyniodd *Bublicanod*, *Sadduceeiaid*, *Pharifeaid*, fef
Mat. 3. 7, 8. *genhedlaeth gwiberod*, ac a ydyw debygol iddo wrthod plant bychain?

Yr oedd Joan yn *rag-flaenor Christ*, ac am hynny ni ddaeth ef i ddirymmu'r Cyfammod, yr hwn yr oedd Christ ei hun yn dyfod iw gyflawni.

*Efe a gynnorthwyodd ei was Israel, gan* *Lu.* 1. 54,
*gofio ei drugaredd, fel y dywedodd wrth* 55, 72,73.
*ein tadau, Abraham ai had yn dragy-*
*wydd. Gwnaed Jesu Ghrist yn wei-* *Rhuf.* 15. 8.
*nidog ir Enwaediad, er mwyn gwirio-*
*nedd Duw, er mwyn cadarnhau yr*
*addewidion a wnaethpwyd ir tadau.* *Act.* 3. 25,
Felly os daeth Christ i gyflawni ey- 26.
fammod Abraham, ni ddaeth Joan
fedyddiwr i ddirymmu mo honaw,
ac am hynny yr oedd yn rhwym i
fedyddio'r plant gydâ eu rhieni.

2. Fe ddaeth Joan i baratoi ffordd ir Arglwydd. Diben ei fedydd ef oedd rhwymo yr holl bobl i gredu yn yr Arglwydd Jesu, yr hwn oedd ar ddyfod. *Joan yn ddiau a fedyddiodd â* *Act.* 19. 4.
*bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Ghrist Jesu.*

Nid oedd ffydd yn ammod o fedydd *Joan*, eithr yn ddiben o honaw, yr oedd ei fedydd ef yn gosod rhwymedigaeth neullduol ar holl hâd Abraham i dderbyn Christ pan yr ymddangosei ef. Canys nid oedd Joan ei hun yn ei adnabod ef ar y dechreuad. *Jo.* 1. 31.

Yr oedd plant megis eraill yn rhwym ei dderbyn ef fel y deuent i oedran, ac o herwydd bod bedydd yn arwydd or rhwymedigaeth hynny, yr oedd yn perthyn iddynt hwy megis iw rhieni. Ni pharadd Joan i fedyddio oddi eithr tair blynedd, ac am hynny os ni fedyddiwyd plant yr Iddewon gan Joan, ni fedyddiwyd mo honynt hwy oll â bedydd Joan, ac os felly nid oeddent hwy tan yr un rhwymedigaeth i dderbyn Christ, ac yr oedd eu tadau. Os

*Act.* 3 22, 23. Ordinhâd Duw oedd bedydd Joan i osod pawb tan rwymedigaeth i dderbyn yr Arglwydd Jesu tan boen damnedigaeth, ni adawodd Joan blant bychain heb fedydd, oddi eithr i ni feddwl, na fynnei ef ei rhwymo hwynt i gredu yn Ghrist, ond eu gadael iw dewisiad eu hun pan ddeuent i oedran, naill ai i dderbyn, neu i wrthod Christ. Na atto Duw i ni feddwl fod Joan mor anffyddlon yn ei weinidogaeth.

A oedd yr enwaediad yn rhwymo plant i gredu ynghrist? os gallent dderbyn rhwymedigaeth enwaediad, pa faint mwy y gallent, ac y dylent

dderbyn

dderbyn rhwymedigaeth bedydd, yr hwn a Ordeiniodd Duw trwy orchwyliaeth neullduol *i ddarparu ir Arglwydd bobl barod.* *Lu.* 1. 17.

3. Yr oedd plant bychain yn amser *Joan* yn aelodau o eglwys Dduw, ni all neb ammeu hynny, o herwydd bod enwaediad, sel y Cysammod arnynt. Yr oedd holl hâd Abraham yr amser hwnnw yn eglwys weledig i Dduw, ai unig eglwys ef ar y ddaiar oeddent hwy. Nid oeddent allan or eglwys cyn ei bedyddio, ni dderbyniwyd monynt i eglwys Dduw trwy fedydd, megis rhai nad oeddent o honi or blaen. Eithr bedyddiwyd yr holl wlad, o herwydd eu bod yn aelodau gweledig o eglwys Dduw. Ac o herwydd bod plant bychain yn aelodau o'r eglwys weledig, yr ydoedd bydydd Joan yn perthyn iddynt.

Ni ddaeth Joan i dynnu i lawr eglwys yr Iddewon, neu i gyfyngu eu sylfaenau hi; y mae ef yn dywedyd fod y *fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prennau*; eithr ni thorrodd ef i lawr yr un gangen. Y mae yn bwgwth y bydd i Ghrist *lwyr lanhau i lawr dyrnu, a llosci yr us a* *Mat.* 3. 10. *Mat.* 3. 12.

 *sban,*

*than*, eithr ni. swrodd ef neb allan oedd ar y llawr dyrnu. Ac am hynny derbyniodd blant megis eraill iw sedydd, o herwydd eu bod yn aelodau o eglwys Dduw.

4. Nid oes ammeu na ddygodd y rhieni eu plant gydâ hwynt i sedydd Joan. Canys, 1. Yr ydoedd Duw wedi gorchymmyn iddynt ddwyn
*Deut.* 31. 10, 11, 12. eu plant ir gynnulleidfa i fyned tan gysammod Duw. *Deut.* 29. 9, 10,
*Josh.* 8. 35. 11, 12. 2. Yr oedd eu Zeal hwynt yn fawr am ragorfreintiau eu plant.
*Act.* 21. 20. *Act.* 15. 1, 2-- Ac am hynny pe gwrthodasei Joan eu plant, ni ddaethent mor ewyllysgar iw sedydd ef. 3. Hwy a ddygasant eu plant at
*Mat.* 19. 13, 14. & 15. 31. & 14. 21. Ghrist. Ac am hynny dygasant eu plant gydâ hwynt at sedydd Joan. 4. Peth arferol oedd bedydd plant yn eglwys yr Iddewon lawer cant o flynyddoedd cyn amser Joan. Yr oedd bedydd yn beth adnabyddus iddynt, ac am hynny pan ddanfonodd y *Cyngor o Gaersalem* i holi *Joan*, nid ydynt yn ammeu ei sedydd ef, ond ei awdurdod ef i sedyddio.
*Jo.* 1. 25. *Pa ham yr wyti yn bedyddio?* Mae *Moses Ben Maimon*, yr hwn a gascludd

elodd ynghyd ddefodau hen Eglwys yr Iddewon, yn dywedyd, *Trwy dri pheth yr aeth Israel tan gyfammod*, *trwy enwaediad*, *bedydd ac aberth*. Drachefn, *nid yw neb yn broselyt*, *nes enwaedu arno*, *ai fedyddio*. *Maim. in Issure Biah. perek.* 13. *Ibid.* vid. *Grot.* in *Mat.* 3. 6.

*Rabbi Hona* a ddywed, *y maent yn bedyddio plant bychain trwy drefnid y Cyngor*. Chwanega'r gwyr doethion, *os nid oes gantho dad*, *ai ddwyn gan ei fam iw wneuthur yn broselyt*, *hwy ai bedyddiant*, *o herwydd nad oes un proselyt heb enwaediad a bedydd*. Wrth y tystiolaethau hyn, ac amryw eraill a allwn ni eu henwi, y mae yn eglur fod bedydd plant yn beth Cyffredinol ymhlith yr Iddewon, a hynny yw un achos nad yw'r Testament Newydd yn sôn yn helaethach am fedydd plant, o herwydd bod yr arferiad o honaw mor gyffredinawl yn Eglwys yr Iddewon. Nid yw Christ ai Apostolion mewn un lle yn eu ceryddu am wneuthur felly, fel y maent am olchiadau eraill. Yr oedd yr arferiad hwn o fedyddio plant yn guttun ac ewyllys Duw, ac wedi parhau yn yr Eglwys honno oddiar amser Jacob, fel y barna *Rabbi's* *In* Lightf. *Vol. I. p.* 526, 527.

yr

yr Iddewon, ac y nodasom or blaen.

Am hynny yn ddi-ddadl dygpwyd plant bychain i fedydd Joan, yr hwn oedd yn rhwym iw derbyn ai bedyddio, fel y profasom or blaen.

5. Bedyddiodd Joan blant bychain, Canys efe a fedyddiodd yr holl wlad yn gyffredinawl, or hon yr oedd plant bychain yn rhan fawr. Ni wrthododd ef neb a ddaeth, neu a ddycpwyd atto. *Mat.* 3. 5 6. *Yna yr aeth allan atto ef Jerusalem, a holl Judæa, ar holl wlad o amgylch yr Jorddonen, a hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Jorddonen.* *Act.* 13. 24. *Gwedi i Joan rag-bregethu bedydd edifeirwch i holl bobl Israel.* Os bedyddiodd ef *Jerusalem, a holl Judæa, ar holl wlad* o amgylch yr Jorddonen, ar *holl bobloedd*, y mae yn sicer iddo fedyddio plant bychain, oddi eithr i ni dybied nad oedd dim plant yn *Jerusalem*, nac *yn holl Judæa.* Gobeithio nad rhaid i ni brofi fod rhai plant bychain *yn yr holl wlad*, fel yr ydys yn galw arnom ni i brofi fod rhai yn y teuluoedd Cyssain a fedyddiodd yr Apostolion. Os

oes

oes rhai teuluoedd heb blant ynthynt, nid oes yr un ddinas gyfanneddol heb blant, a phe digwyddei fod y Cyfryw ddinas, nid oes yr un wlad gyfanneddol heb blant ynthi. Ac am hynny os bedyddiodd Joan *yr holl wlad, ar holl bobl*, efe a fedyddiodd blant hefyd.

Os dywed neb, nad yw'r Efangylwyr yn enwi plant bychain, gwir yw, yr un modd y gallaf finnau ddywedyd, nid ydynt yn enwi na gwyr na gwragedd, nac jefangc na hén, etto diammeu ydyw i Joan fedyddio y naill ar llall.

Gwrthdd. *Y rhai a fedyddiodd Joan a gyffesodd eu pechodau yr hyn ni allei plant i wneuthur, Mat.* 3. 6.

Atteb. Nid yw'r Text yn dywedyd pa fath oedd y Gyffes hon, *ai mewn gair, ai ynteu mewn gweithred.* Yr oedd eu darostyngiad i fedydd *yn gyffes ar weithred* eu bod yn aflan, a bod arnynt eisiau eu golchi. Nid yw debygol mae *Cyffes mewn geiriau oedd*, Canys ni allei un gwr dderbyn Cyffes neulldduol gan yr holl wlad. Os mewn geiriau yr oeddent yn Cyffesu, y mae yn debygol i rai i wneuthur

wneuthur Cyffes yn enw eraill, fel y gwnae yr Offeiriad yn enw yr holl
*Lev.* 16. 21 bobl. Fel hyn y gallei y rhieni gyffesu pechod trostynt eu hunain, ac thros eu plant; ac yr ydoedd Duw yn derbyn y Cyfryw gyffes oddiwrth
*Ez*. 10. 1. y ffyddloniaid tros eu plant. Ac am hynny y mae Duw yn gorchymyn *casclu y plant sydd yn sugno ar y bronnau* i ymddangos ger ei fron ef ar
*Joel* 2. 12, 16. ddydd ymprydi. Gwaith dydd ympryd yw Cyffesu pechod, yr hyn ni
2 *Chron.* 20 3. 4, 13. allei plant yn sugno ar y bronnau i wneuthur, etto mae Duw yn gorchymyn i rhieni gyflwyn eu plant ger bron yr Arglwydd, ac yn derbyn eu Cyffes hwynt tros eu plant.

Gwrthdd. *Y rhai a fedyddiodd Joan a ddaeth atto ef.* Ni *allei plant*
*Lu.* 3. 7. *ddyfod.*

Att. Hwy a allent ddyfod atto ef er ei eraill eu dwyn hwynt. Mae Christ yn dyweyd am y plant bychain a *ddygpwyd* atto ef, gadewch
*Mat.* 19. 13, 14. i blant bychain *ddyfod* attafi.

*Num.* 20. 1. *A meibion Israel sef yr holl gynnulleidfa* a ddaethant *i anialwch Sin.* Yr oedd miloedd o blant yn y gynnulleidfa hon, ac am hynny

hwy

hwy *a ddaethant* gydâ ei tadau, Canys ni adawsant monynt ar eu hol. Mae Christ yn dywedyd am y gynnulleidfa hynny *o bedair mil heb law gwragedd a phlant* a borthodd ef yn y diffaethwch, i *rai o honynt ddyfod o bell.* Yr oedd plant yn eu plith hwynt, ac etto *daethant* hwy megis eu rhieni at Ghrist, ac am hynny nid yw yn Canlyn na fedyddiodd Joan blant bychain, er bod y scrythur yn dywedyd, i'r *rhai a fedyddiwyd gantho ef ddyfod atto ef.* Mat. 15. 38 Mar. 8. 9.

Oddiwrth y Gysan y mae yn Canlyn i' Joan fedyddio plant bychain gyda eu rhieni, ac am hynny y dylid eu bedyddio yr awrhon megis gynt, Canys *ni wnaeth Duw ddim gwabaniaeth rhyngom ni a'r Iddewon*, ond bod ein ragorfreintiau ni yn helaethach ac yn ysgafnach tan yr Efengyl. Gweinidogaeth a bedydd Joan oedd *dechreu Efengyl Jesu Ghrist*, ac am hynny o herwydd iddo ef fedyddio plant bychain, y mae bedydd yn perthyn iddynt ymhob oesoedd yr Efengyl. *See more of this Subject in* Joshua Excel's Serious Inquiry. Act. 15. 9. Mar. 1. 1

PEN.

# PEN. XIIII.

*Fe a ddylid bedyddio plant y ffyddloniaid, o herwydd ir Apostolion fedyddio teuluoedd cyfain.*

## Rhefwn X.

FFordd Duw o ddechreuad y byd oedd derbyn teuluoedd cyfain iw gyfammod, yr oedd y plant yn cael eu derbyn i mewn gydâ eu rhieni, felly yr ydoedd Noah ai deulu yn yr un cyfammod. Er ei fwyn ef derbyniwyd eu deulu gydâg ef ir Arch, a bedyddiwyd hwynt gydâg ef yn nyfroedd y diluw. Credodd Abraham, a derbyniwyd ei holl deulu i gyfammod Duw gydâg ef. *Gen.* 17. Nid yn unig efe ai had, ond ei weifion ai forwynion or Cenhedloedd, y rhai oeddent yn ewyllyfgar i dderbyn y wir grefydd, ai had hwyntau. Ac felly parhaodd Gyfammod Duw yn nheuluoedd y ffyddloniaid hyd ddyfodiad Christ tros yn agos *i bedair mil o flynyddoedd.* Os

*Heb.* 11.7. 1 *Pet.* 3. 20, 21.

*Gen.* 17.23. *Exod.* 12. 48.

Os dywed neb i gyfnewid yr Orchwyliaeth hon, a rhwygo yr aelodau oddiwrth bennau-teuluoedd, *dangosent ſcrythur eglur am hynny.*

Eithr ni a yſtyriwn ymddyglad Chriſt ai Apoſtolion tuag at y rhai a gredent, y maent hwy yn cyfrannu rhagorfreintiau y Cyfammod i deuluoedd cyfain, pan dderbyniei pen y teulu yr Efengyl dragywyddawl.

I. Felly dywed yr Arglwydd Jeſu am *Zacchens*, wedi iddo gredu yntho ef. *Heddyw y daeth jechydwriaeth ir tu hwn o herwydd ei fod yntef yn fab i Abraham. Canys mab y dyn a ddaeth i geiſio, ac i gadw yr hyn a gollaſid.* Yſtyriwn yn y geiriau hyn, Lu. 19. 9, 10.

1. Cyn gynted ac y dychwelodd *Zacchens* yr hwn a fuaſei yn bechadur mawr, y mae Chriſt yn cymhwyſo yr addewid o jechydwriaeth nid yn unig atto ef ei hun, ond hefyd at ei deulu ef, gan ddywedyd, *heddyw daeth jechydwriaeth ir tŷ hwn.* Pe buaſei teuluoedd y ffyddloniaid i gael eu cae allan tan yr Efengyl, y rhai oeddent yngh fammod eu tadau tan y gyfraith, a chyn y gyfraith, digon fuaſei i Ghriſt ddywedyd,

N *heddyw*

*beddyw daeth jechydwriaeth attati.* Eithr cyn gynted ac y credodd *Zacchëus*, daeth jechydwriaeth *iw deulu ef*, yn ol hen orchwyliaeth y Cyfammod.

Gen. 17. 12, 13, 14. 2. Mae Christ yn agoryd Cyfammod Abraham, yr hwn a wnaeth Duw *ag ef ac ai deulu*, neu ei had. *O herwydd ei fod yntef yn fab i Abraham.* Megis pe dywedasei, *er mae pechadur mawr fu'r gwr hwn, ac er ei fod yn ben-publican, etto o herwydd iddo edifarhau, a derbyn Cyfryngwr y Cyfammod gras, y mae Cyfammod Abraham, ar rhagorfreintiau o honaw yn perthyn iddo ef ac iw deulu. Mab Abraham* ydyw, ac am hynny perthyn helaethrwydd Cyfammod Abraham *iddo ef ac iw had.* Mae llawer yn barnu am *Zacchëus*, mae un or Cenhedloedd oedd ef, o herwydd y Cyfryw oedd y Publicanood yn arferol, a hyn a gasclant oddiwrth eiriau Christ. *O herwydd ei fod yntef yn fab i Abraham. Yntef*, er nad yw yn had naturiol i Abraham, etto y mae yn un oi had ysprydol ef, ac am hynny y mae Cyfammod Abraham yn perthyn iddo ef ai du. Yn yr

ystyriaeth

ystyriaeth hon y mae *Zaccheus* megis yn flaenffrwyth or Cenhedloedd, ac yn gosod allan ragorfreintiau Cyfammod Abraham iddynt hwy ac iw teuluoedd.

Gwrthddd. Eithr beth yw hyn i fedydd ?

Att. 1. Os daeth jechydwriaeth iw deulu ef, yr ydoedd bedydd yn perthyn iddynt.

2. Y mae yn debygol fod Zaccheus ai deulu wedi ei bedyddio gan Joan or blaen. Canys *daeth y publicanod atto i'w bedyddio.* *Lu.* 3. 12. & 7. 29.

II. Y mae *Pedr* pan blannodd efe yr Eglwys Gristionogol gyntaf ymhlith yr Iddewon, yn eu cynghori hwynt, gan ddywedyd, *bedyddier pob un o honoch——canys i chwi y mae'r addewid ac i'ch plant.* Mae'r geiriau, *pob un o honoch*, yn eu cynnwys hwynt ai plant; megis pe dywedasei, *bedyddier chwi ach plant, Canys y mae'r addewid i chwi ac ich plant.* Felly mae i ni ddeall y geiriau, canys y mae yr addewid ar ddyledswydd or un helaethrwydd. *Act.* 2. 38, 39.

Os yw'r addewid yn perthyn iddynt hwy ai plant, yr oedd bedydd

 he-

hefyd. Yr oedd hawl y rhieni i fedydd yn tyfu oddiwrth eu hawl yn yr addewid, a chan bod gan eu plant hwynt hawl ir un addewid, yr oedd ganthynt hawl ir un rhagorfraint o fedydd. Nid oedd raid ir Apostil enwi eu plant yn neullduol, yr oedd yn ddigon iddo ddywedyd fod eu plant hwynt yn awr ynghyfammod Abraham megis or blaen, a bod yr addewid yn perthyn iddynt, ac yna hwy a wyddent yn dda fod fel y Cyfammod yn perthyn iddynt.

Yr un modd y plannodd *Pedr* yr Eglwys gyntaf ymhlith y Cenhedloedd, fel y gellir casglu oddiwrth eiriau yr Angel wrth *Cornelius*, blaen-
*Act.* 11. 13. ffrwyth eglwys y Cenhedloedd. *Anfon wŷr i Joppa, a gyrr am Simon, a gyfenwir Petr, yr hwn a lefara eiriau wrthit, trwy y rhai i'th jacheir di, a'th holl dŷ.* Y mae yr Efengyl yn dwyn jechydwriaeth *iddo ef ai holl dŷ.* Gwyddei *Cornelius* feddwl y geiriau hyn yn dda, Canys proselyt oedd ef ir wir grefydd cyn yr amser hwn, er ei fod yn ddienwaededic, yr ydoedd yn derbyn saith gorchymyn Noah, sylwedd pa rai a ellir eu gweled yn

Gen. 9.

Gen, 9. Yr ydoedd Cyfammod Duw â Noah, ac ai had. Ni allei lai na gwybod fod y profelytiaid eraill a dderbynient yr enwaediad, nhwy ai plant ynghyfammod Abraham, ac ei fod yntau yr awrhon trwy dderbyn yr Efengyl i ddyfod i mewn ir un Cyfammod, felly ac y byddei efe ai holl dŷ ynghyfammod Duw, ac yn flaen-ffrwyth eglwys y Cenhedloedd.
*Act.* 10. 2.
*Gen.* 9. 1--9

Fel hyn y fylfaenodd Petr yr Eglwys Griftnogol or Iddewon ar Cenhedloedd mewn teuluoedd, yn ol yr hen arferiad o ddechreuad y byd.

III. Ni ystyriwn pa fod y fylfaenodd Paul eglwysi ymhlith y Cenhedloedd. Yr un modd ac y gwnaeth Petr; pan gredei pen y teulu, beddiei'r holl deulu, felly fylfaenodd ef eglwys y *Philippiaid*, ac eglwys y *Corinthiaid*, a diammeu mae'r un modd y fylfaenodd ef holl eglwysi y Cenhedloedd. Canys wrth yr un rheol yr adeiladodd ef dŷ Dduw ymhob lle.

1. Fe blannodd Eglwys y *Philippiaid* mewn teuluoedd, *Act.* 16. 14, 15. *A rhyw wraig ai henw Lydia*——

*yr hon oedd yn addoli Duw, a wrandawodd, yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon, i ddal ar y pethau a leferid gan Paul; ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, hi a ddymunodd arnom, &c.*

Yn yr ysgrythur hon daliwn sulw ar y pethau hyn.

1. Yr ydoedd Lydia yn broselyt ir wir grefydd or blaen, *Canys ar y dydd Sabbath hi aeth allan or ddinas i lan afon, lle y byddid arferol o weddio, i addoli Duw.* Yn awr, yr oedd y proselytiaid or Cenhedloedd ai plant ynghyfammod Duw, fel y profasom eusus. Gan hynny yr oeddyd yn eu derbyn hwynt ai plant trwy enwaediad a bedydd i eglwys yr Iddewon, eithr gwragedd ai plant a dderbynid yn unig *trwy fedydd.* Felly y dywed *Moses* fab *Maimon*, yr hwn a gasclodd ynghyd hen arferiadau yr Iddewon; ebe efe, *Nid yw neb yn broselyt, nes enwaedu arno, ai fedyddio. Hwy a fedyddiant blentyn bychan trwy orchymyn y Cyngor.* Yr ydoedd *Lydia*, a'i theulu gan hynny ynghyfammod Duw, yn ol rheol y proselytiaid.

*Act.* 16. 13, 14.

Maim. in Lightf. *vol.* I. *p.* 210.

2. Cyn

2. Cyn gynted ac y Credodd hi, *bedyddiwyd hi ai theulu.* Yr ydym yn darllen ir Arglwydd *egor ei chalon hi*, eithr nid oes dim sôn am ffydd ei theulu hi, etto bedyddiwyd hi ai theulu, cyn eu myned hwynt or lle yr oeddent yn gweddio yntho, fel y mae yn debygol, Canys ar ol eu bedyddio, hi a ddymunodd arnynt ddyfod iw thŷ hi, gan ddywedyd, *Os barnasoch fy mod i yn ffyddlon ir Arglwydd, dewch i mewn i'm tŷ, ac arhoswch yno.* Nid iw hi yn dyweyd, *os barnasoch fy mod i am teulu yn ffyddlon*, ond yn unig *fy mod i yn ffyddlon*, gan hynny bedyddiwyd ei theulu er ei mwyn hi, yn ol trefn Cyfammod Duw, i dderbyn y ffyddloniaid ai had ir un rhagorfreintiau. *Act.* 16.15.

Fel hyn y dechreuodd yr Efengyl yn *Philippi*, eithr pa fodd y Cynnyddodd hi? Yn yr un modd, Canys y mae'r Apostil yn cynnig jechydwriaeth *i Geidwad y Carchar, ac iw deulu* os credei ef yn unig. *Act.* 16. 30, 31. Ac efe a ddywedodd, *o feistred, beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf cadwedig? A hwy a ddywedasant, Cred yn yr Arglwydd*

*Jesu*

*Jesu Grist, a chadwedig fyddi, ti ath deulu.*

Yn yr scrythur hon yst yriwn,

*Act.*16.21. 1. Rhufeinwr oedd Ceidwad y Carchar, heb ddim gwybodaeth or gwir Dduw, nac oi gyfammod ef.

2. Y mae ef yn dyfod at yr Apostolion yn ddychrynnedig ynghylch ei jechydwriaeth ei hun, ac nid am jechydwriaeth ei deulu. Nid oedd etto yn adnabod helaethrwydd Cyfammod Duw.

3. Y mae Paul yn agoryd iddo Gyfammod Duw ir *ffyddloniaid ac iw had*, gan ddywedyd wrtho, *Cred yn yr Arglwydd Jesu Grist a chadwedig fyddi, ti ath deulu.* Nid yw yn dyweyd *Cadwedig fyddi di ath deulu, os credwch chwi*, eithr *Cred di, a chadwedig fydd dy deulu gydâ thi.* Mae addewid Jechydwriaeth yn perthyn ir teulu, os credei efe, yr hwn oedd pen y teulu. Oddi eithr bod Cyfammod Duw yn amgyffred ei deulu ef, ni buasei raid ir Apostl ond dywedyd *Cred, a thi a fyddi cadwedig.* I ba ddiben yr enwodd Paul *ei deulu ef*, oddi eithr bod cyfammod jechydwriaeth yn perth n

ddiben

thyn iddynt hwy o herwydd ei ffydd ef; megis gynt y Credodd Abraham, tad y ffyddloniaid or Cenhedloedd, a derbyniwyd ei holl deulu i gyfammod Duw. Os nid oedd dim rhagorfreintiau yn perthyn iw deulu ef yn amgenach na theuluoedd eraill, nes i bob un yn neullduol gredu, gallasei'r Apostl ddywedyd wrtho, *Cred, a chadwedig fyddi, ti a'r holl dref.* Canys os credent, byddent hwythau yn gadwedig. Eithr ni wnaeth Duw er joed gyfammod o ras â holl dref, er mwyn un gwr; ond efe a wnaeth gyfammod ar holl deulu er mwyn penteulu yn fynych.

Am hynny amlygir Cyfammod jechydwriaeth ir gwr hwn ac iw deulu, os credei yn yr Arglwydd Jesu.

Yn ol yr addewid hon o jechydwriaeth iddo ef ai deulu, *bedyddiwyd ef ar eiddo oll, yn y man.* *Act.* 16. 33.

Gwrthdd. Yr ydoedd ei holl deulu ef yn credu. v. 34.

Att. Felly yr oedd y rhai o oedran, *Yr holl deulu* fydd weithiau yn arwyddocau y rhai fydd o oedran yn y teulu. Yr ydys yn dywedyd am *Sampson*, i holl dŷ ei dad ei gladdu

*Barn.* 16. 31. ddu ef, hynny yw, y rhai oedd o oedran yn nhŷ ei dad ef. Canys ni allei'r plant bychain fyned i wlad y Philistiaid, i ddwyn ei gorph ef i feddrod ei Dad. Dywedir am *Cornelius*, mae gwr defofionol oedd, yn

*Act.* 10. 2. ofni Duw, *ynghyd ai holl dŷ*, hynny yw, ynghyd a phawb oedd mewn oedran yn ei deulu. Felly ceidwad y Carchar a gredodd ynghyd ai holl deulu, sef ynghyd a phawb oedd o oedran i gredu.

2. Ac nid oes i ni feddwl mae teuluoedd amhlantadwy, oedd yr holl deuluoedd a fedyddiwyd gan yr Apostolion. Nid oedd fawr deuluoedd yn yr oesodd hynny heb blant ynddynt, Canys y rhan fwya oi Cyfoeth oedd eu caethweisiôn ai caeth forwynion, ar plant a enid o honynt, ac yr oedd y plant hyn ynghyfammod Duw, megis yr oedd plant rhyddion. Felly y maent hefyd tan yr

*Gen.* 17. 12, 13, 23. Efengyl. Y *maent yn hâd Abraham* trwy ffydd eu rhieni, *ac yn etifeddion*

1 *Col.* 12. 13. *yn ol yr addewid*, megis gynt.

*Gal.* 3. 28, 29. 3. Eithr os nid oedd plant i geidwad y Carchar, neu os oeddent wedi dyfod i oedran, yr un peth ydyw.

Y mae'r Apostl yn cynnig jechydwriaeth *iddo ef ai deulu*, sef iw blant bychain, os oedd y Cyfryw iddo; a hynny fydd ddigon i siccrhau'r gwirionedd presennol. Wrth *ei deulu* y mae'i ni ddeall ei blant ef yn bennaf, fel y cymmerir y gair yn fynych yn yr scrythur. *Gen.* 30. 30. & 45. 18, 19. *Num.* 3. 15. 1 *Tim.* 5. 8. 1 *Tim.* 3. 4, 5. Ac yn yr ystyriaeth hon y Cymmerir y gair *teulu* yn wastad pan ydyw Duw yn derbyn *gwr ai deulu* iw gyfammod. Felly gwnaeth Duw gyfammod â *Noah*, *ai deulu*, sef ai blant. Gwnaeth gyfammod *âg Abraham*, *ac âi deulu*, sef âi hâd ef. Y plant yw'r rhan bennaf o bob teulu. Gan hynny pan ydyw'r Apostl yn dywedyd wrth geidwad y Carchar, *Cred yn yr Arglwydd Jesu, a chadwedig fyddi di a'th deulu*, cymmaint ydyw a phe dywedasei, *os credu di yngHrist, y mae Cyfammod Duw, ar sel o fedydd, yn perthyn i ti ac ith blant.* Mae'r Apostl yn enwi ei *deulu* ef er annogiaeth iddo i gredu yngHrist, a pha annogiaeth fwy na hon, y bydd i Dduw ein derbyn ni a'n plant i gyfammod

jechy-

jechydwriaeth, os credwn ni yn ei fab ef Jesu Ghrist.

Fel hyn y plannodd yr Apostl Paul eglwys y *Philippiaid* mewn *teuluoedd*, ni a ystyriwn yn nesaf pa fodd y plannodd ef eglwys y Corinthiaid.

2. Plannodd yr Apostl eglwys y Corinthiaid gan fedyddio *teuluoedd*
1 Cor. 1. 16, 17. *Cyfain, mi a fedyddiais dylwyth Stephanas*, er nad oedd Paul yn bedyddio ei hun ond yn anfynych, etto bedyddiodd *Stephanas ai deulu*, i ddangos mae ewyllys Duw oedd plannu'r Efengyl mewn teuluoedd ymhlith y Cenhedloedd. Y mae'r Apostl yn galw y teulu hwn *blaen*
1 Cor. 16. 15. *ffrwyth Achaia*, un or teuluoedd Cyntaf oedd, a fedyddiwyd ir grefydd Gristnogol yn y wlad honno, am hynny yr ydoedd yn siampl i eraill a gredent ynghrist, fod bedydd yn perthyn *iddynt hwy ac iw teuluoedd.*

Pan ydyw'r Apostl yn enwi pennau teuluoedd a fedyddiodd ef, ei feddwl yw iddo fedyddio yr holl
1 Cor. 1. 14. deulu. *Ni fedyddiais i neb o honoch, ond Crispus a Gaius*, hynny yw, *Crispus a Gaius, a'i teuluoedd.* Darllenir am *Crispus*, *Act.* 18. 8. *A Chrispus*

*Chrispus yr Arch Synagogydd a gredodd yn yr Arglwydd ai holl dŷ.* Ac am hynny bedyddiwyd ef ai deulu. Yr un peth sydd i ni feddwl am Gaius, iddo ef ai deulu gael i bedyddio.

Gwir yw, yr ydoedd holl dŷ *Crispus* yn credu, sef y rhai oedd o oedran yno, eithr a oedd dim plant iddo? Oedd holl deuluoedd y ffyddloniaid yn amhlantadwy? *Iddew ac Arch-synagogydd* oedd, yn deall yn dda fod Duw Abraham *yn Dduw i bâd y ffyddloniaid.*

Cyfododd yr Iddewon yn unfryd yn erbyn Paul yn *Corinth*, ac achwynasant arno, *i fod yn annog dynion i addoli Duw yn erbyn y ddeddf*, pa faint mwy yr achwynasent arno am fwrw eu plant hwynt allan o gyfammod Abraham, pe gwnaethei felly. Act. 18. 13.

Nid oes ammeu na fedyddiodd yr Apostl blant yn y teuluoedd hyn. Canys at y teuluoedd hyn ymhlith eraill o eglwys y Corinthiaid y mae yn ysgrifennu, *na ddylent gyfrif eu plant yn aflan, megis plant y rhai digred, ond bod plant y ffyddloniaid yn sanctaidd.*

O Os

Os bedyddiodd ef deuluoedd cyfain or Corinthiaid, ac os barnodd blant y teuluoedd hynny yn *sanctaidd*, nid oes i ni feddwl iddo i gadael hwynt yn ddi-fedydd.

Gwrthdd. Nid ydym ni yn darllein am ddim plant yn y teuluoedd hyn.

Att. Os oedd teuluoedd y Corinthiaid a fedyddiodd yr Apostl mor amhlantadwy, beth oedd raid ir Apostil scrifennu attynt fod eu plant
1 Cor. 7. 14. hwy *yn sanctaidd?*

Mae'n fwy teb'gol fod plant ymhob teulu a fedyddiwyd gan yr Apostolion, ac mae er mwyn y plant y bedyddiwyd y teuluoedd. Pan dderbynici Duw wr ai deulu iw gyfammod, yr oedd yn wastadol yn derbyn y plant megis y rhan bennaf or teulu, fel y nodasom or blaen yn *Noah*, ac *Abraham.* Trwy fedydd yr oedd yr Apostolion yn selio Cyfammod Duw i deuluoedd, nid yn unig ir rhieni, ond ir plant hefyd, megis rhannau enwog or teuluoedd hynny, ac er mwyn pa rai y gwnaeth Duw ei gyfammod â theuluoedd. Nid yn gymmeint er mwyn gweision

on a morwynion Abraham, ond er mwyn had Abraham y gwnaeth Duw ei gyfammod â theulu Abraham. *Byddaf Dduw iti, ac ith had*, medd Duw wrtho. Yr oedd yn derbyn ei had ef, cyn derbyn ei wasanaeth ddynion. Ac am hynny ni wnaeth Duw un Cyfammod â theulu Abraham nes bod iddo blentyn oi eiddo ei hun. *Gen.* 17. 26, 27. *Gen.* 17. 7.

Felly pan fedyddiodd yr Apostolion deuluoedd, derbyniasant *y rhieni ar plant* i gyfammod Duw. Os ni fedyddiasant blant ni ddarfu iddynt fedyddio *teuluoedd cyfain*, Canys gadawsant allan y rhan fwya rhagorol o honynt. Peth rhyfeddol y fyddei, fod Cyfammod Duw â theuluoedd yn cynnwys plant yn bennodol tan yr hên Destament ac etto yr un Cyfammod â theuluoedd tan y Testament Newydd yn cae allan blant bychain. Eithr nid yw'r peth felly, mae plant yn awr yn rhan hynod o deuluoedd megis gynt, ac attynt hwy mae Duw yn edrych yn bennaf yn ei gyfammod â theuluoedd, ac am hynny felly gwnaeth yr Apostolion gan fedyddio plant gydâ

eu rhieni, *a hynny oedd bedyddio teuluoedd.*

Swm y cwbl yw hyn, yr oedd Duw mewn Cyfammod â theuluoedd cyn y gyfraith, yr oedd mewn cyfammod a theuluoedd tan y gyfraith, y mae mewn cyfammod â theuluoedd tan yr Efengyl, canys ficcrhaodd Christ, ai Apostolion gyfammod Duw â theuluoedd; y rhieni ar plant yw'r teuluoedd y mae Duw yn ei dderbyn iw Gyfammod: Dechreuodd Petr eglwys yr Iddewon, ac eglwys y Cenhedloedd yn y Gyfryw deuluoedd, gan eu bedyddio hwynt; dechreuodd Paul eglwys y Philippiaid, ac eglwys y Corinthiaid gan fedyddio y cyfryw deuluoedd, ac am hynny ewyllys Duw ydyw i deuluoedd, neu blant y ffyddloniaid gael eu bedyddio.

Fe dybiei un fod y pethau hyn yn ddigon eglur i roddi bodlonrwydd i bawb a ewyllyfiei fodlonrwydd ynghylch bedydd plant. Os cydfarnwn ni y naill fcrythur ar llall ni allwn weled yno siamplau eglur o fedydd plant. Y rhai a roddasom eusus sydd ddigon *i argyoeddi y rhai sy yn gwrthddywedyd.* PEN.

KI: 14 Ebrill 1733

JON WILIAMS

# PEN. XIV.

*Fe ddylid bedyddio plant, o herwydd ir Eglwys Gristnogol eu bedyddio hwynt ymhob oes.*

## Rheswn XI.

YR oedd plant y ffyddloniaid yn gyfrannogion o fedydd ymhob oes o eglwys Dduw o amser yr Apostolion hyd yr oes ddiwethaf, fel y gallwn i brofi yn helaeth pe bae fuddiol ir darllenydd annyscedig; mi a osodaf i lawr rai siamplau.

Mae *Calvin* yn dywedyd, *Nullus est scriptor tam vetustus, &c. Nid oes un athro mor hen, yr hwn nid yw'n son am ddechreuad bedydd plant yn amser yr Apostolion.* Calv. in Rom. 4.11.

*Irenæus*, yr hwn a drodd yn Gristion yn y flwyddyn o oed Christ 128, Ac a fu fyw fel y mae tebygol yn amser yr Apostl Joan, a grybwyll am fedydd plant. *Omnes venit*

*venit per ſemetipſum ſalvare, omnes inquam qui per eum renaſcuntur (i. e. baptizantur) in Deum, infantes, parvulos & pueros, juvenes & ſeniores, ideo per omnem venit ætatem, infantibus infans factus, ſanctificans infantes, in parvulis parvulus, ſanctificans hanc ipſam habentes ætatem. Fe ddaeth Chriſt i gadw pawb a fedyddir iddo ef, ſef plant, a rhai bychain a bechgin, gwyr jeſainge a hen wyr, fo ddaeth ymhob oedran. fe a wnaethbwyd yn blentyn i blant fel y ſancteiddiei ef blant bychain, &c.*

Iren. adv. hæreſ. lib. 2. cap. 39.

*Tertullian* a dyſtiolaethodd tros fedydd plant ynghylch y flwyddyn 192. *Ex ſanctificato altero ſexu ſanctos procreari ait, ex ſeminis prærogativâ. O rieni ſanctaidd y genir plant ſanctaidd, yn ol rhagorfraint hâd y ffyddloniaid.*

In 1 Cor. 7. 14.

*Origen*, yr hwn oedd hynod yn y flwyddyn o oed Chriſt 230. Sydd yn dywedyd, *De Infantibus baptizandis eccleſia traditionem accepit ab Apoſtolis. Derbyniodd yr Eglwys fedydd plant trwy draddodiad oddiwrth yr Apoſtolion.* Ni a brofaſom or blaen mae traddodiad ſcrythurol oedd hwn,

Hom. 8. in. Levit.

Canys

Canys bedyddiodd yr Apostolion blant bychain.

Fe a ddywed mewn lle arall, *o herwydd bod ( enogrwydd ) pechod gwreiddiol yn cael ei symmud ymmaith mewn bedydd, am hynny y bedyddir plant bychain.* Orig. hom. in Luc. 14.

*Cyprian* yr hwn a neullduwyd ir weinidogaeth yn y flwyddyn, 247. Sydd yn sôn am fedydd plant. *A baptismo atque à gratiâ nemo [credens] prohibetur, quanto magis prohiberi non debet infans, &c. Y mae bedydd a maddeuant pechod yn perthyn i bawb a gredant, pa faint mwy i blant bychain, y rhai ni phechasont ond â phechod gwreiddiol, am hynny hawsach iddynt hwy nac eraill i dderbyn maddeuant, quod illis remittuntur non propria, sed aliena peccata, o herwydd maddeuir iddynt hwy nid eu pechodau [gweithredol] eu hunain, ond pechodau un arall,* sef Adda.

Y mae *Cyprian* yn gosod i lawr nid yn unig ei farn ei hun, ond barn Trigain a chwech oi gyd-esgobion mewn Cymmansa yn *Affrica* ynghylch bedydd plant, na ddylid oedi mo honaw hyd yr wythfed dydd, Cypr. ad Fid. ep. 59.

fel yr ydoedd rhai yn gwneuthur yn ol Cyfraith yr Enwaediad, ond y gellir eu bedyddio cyn, neu ar ol yr wythfed dydd fel y byddo amgylchiadau yn gofyn.

*Gregory* o *Nazianzum* yr hwn oedd hynod o bobtu yr flwyddyn 370, fydd yn dwyn tystiolaeth i fedydd plant, medd ef, *Omni ætati baptisma convenit, y mae bedydd yn gyfattebol i bob oedran:* a thrachefn, *Da infanti trinitatem, magnam & præstantissimam custodiam. Dyro fedydd y drindod i blant bychain, a bydd hynny yn ddiogelwch mawr a rhagorol iddynt.*

Nazian. *Orat. in sanct. Lavacr.*

*Chrysostom* yr hwn a wnaethpwyd yn henuriad yn y flwyddyn 386, a ddywed fel hyn, *Am hynny y dysc yr Eglwys gatholic y dylid bedyddio plant, o herwydd pechod gwreiddiol; ac unffurff arferiad yr Eglwys sanctaidd trwy yr holl fyd, yngbyleb bedydd plant a rhai o oedran ni ddylid edrych arno megis peth ofer.*

Chrys. *homil. de Adam & Heva.*

*Jerom*, yr hwn a ddechreuodd fod yn hynod yn y flwyddyn 378, a gyd-tystiolaetha ir gwirionedd hwn, ebe ef, *yr ydym ni yn dal bod un bedydd, ac y dylid rhoddi y Sacrament hwn*

Hieron. *Symb. explanat. ad Damasum.*

*hwn i blant bychain, yn yr un geiriau, ac y gweinir ef i rai o oedran.*

*Austin*, yr hwn a lewyrchodd yn eglwys Dduw yn y flwyddyn 396, hyd y flwyddyn 430, a yscrifennodd lawer ynghylch bedydd plant, efe a ddywed fel hyn, *à parvulo recens nato usq; ad decrepitum senem, &c. Ni ddylid neccau bedydd i neb, o blant bychain newydd eni byd hen wyr cleiriach.* Aug. Enchirid. ad Laur. cap. 43.

Yr oedd bedydd plant mor gyffredinol yn eglwys Dduw, na allei y *Pelagiaid* wadu o honaw, er eu bod yn gwadu pechod gwreiddiol, yn derbyn pa un y mae yn feddyginiaeth. *Secundum Pelagium hæreticum ista dicatis, &c. yr ydych yn dywedyd yn ol Pelagius yr hæretic fod bedydd yn angbenrheidiol i blant bychain, nid er maddeuant pechodau, sed tantum propter regnum cœlorum, ond yn unig er mwyn teyrnas nefoedd.* Aug. lib. 1. contra Pelag. ad Bonifac. cap. 22.

Fel hyn y gwelwn ni pa fath oedd arferiad yr oesodd cyntaf ynghylch bedydd plant, mi a chwanegaf un neu ddau eraill o dystiolaethau ynghylch y peth hwn.

Bernard

fel yr ydoedd rhai yn gwneuthur yn ol Cyfraith yr Enwaediad, ond y gellir eu bedyddio cyn, neu ar ol yr wythfed dydd fel y byddo amgylchiadau yn gofyn.

*Gregory* o *Nazianzum* yr hwn oedd hynod o bobtu yr flwyddyn 370, fydd yn dwyn tystiolaeth i fedydd plant, medd ef, *Omni ætati baptisma convenit*, *y mae bedydd yn gyfattebol i bob oedran*: a thrachefn, *Da infanti trinitatem, magnam & præstantissimam custodiam. Dyro fedydd y drindod i blant bychain, a bydd hynny yn ddiogelwch mawr a rhagorol iddynt.*

Nazian. *Orat. in sanct. Lavacr.*

*Chrysostom* yr hwn a wnaethpwyd yn henuriad yn y flwyddyn 386, a ddywed fel hyn, *Am hynny y dysc yr Eglwys gatholic y dylid bedyddio plant, o herwydd pechod gwreiddiol; ac unffurff arferiad yr Eglwys sanctaidd trwy yr holl fyd, yngbylch bedydd plant a rhai o oedran ni ddylid edrych arno megis peth ofer.*

Chrys. *homil. de Adam & Heva.*

*Jerom*, yr hwn a ddechreuodd fod yn hynod yn y flwyddyn 378, a gyd-tystiolaetha ir gwirionedd hwn, ebe ef, *yr ydym ni yn dal bod un bedydd, ac y dylid rhoddi y Sacrament hwn*

Hieron. *Symb. explanat. ad Damasum.*

*hwn i blant bychain, yn yr un geiriau, ac y gweinir ef i rai o oedran.*

*Austin*, yr hwn a lewyrchodd yn eglwys Dduw yn y flwyddyn 396, hyd y flwyddyn 430, a yscrifennodd lawer ynghylch bedydd plant, efe a ddywed fel hyn, *à parvulo recens nato usq; ad decrepitum senem, &c. Ni ddylid neccau bedydd i neb, o blant bychain newydd eni byd hen wyr cleiriach.* Aug. Enchirid. ad Laur. cap. 43.

Yr oedd bedydd plant mor gyffredinol yn eglwys Dduw, na allei y *Pelagiaid* wadu o honaw, er eu bod yn gwadu pechod gwreiddiol, yn erbyn pa un y mae yn feddyginiaeth. *Secundum Pelagium hæreticum ista dicatis, &c. yr ydych yn dywedyd yn ol Pelagius yr hæretic fod bedydd yn angbenrheidiol i blant bychain, nid er maddeuant pechodau, sed tantum propter regnum cælorum, ond yn unig er mwyn teyrnas nefoedd.* Aug. lib. 1. contra Pelag. ad Bonifac. cap. 22.

Fel hyn y gwelwn ni pa fath oedd arferiad yr oesodd cyntaf ynghylch bedydd plant, mi a chwanegaf un neu ddau eraill o dystiolaethau ynghylch y peth hwn.

*Bernard*

*Bernard* yr hwn a fu fyw rhwng y flwyddyn 1091, ar flwyddyn 1153, sydd yn dangos arferiad yr Eglwys yn yr Oesoedd hynny, ac yn rhoddi barn galed ar y rhai a wrthwynebant fedydd plant. Ebe efe, *yr hwn sydd yn neccau bedydd i blant rhieni Christionogol sydd yn datcuddio cenfigen gythreulig, je y cyfryw genfigen ac a ddygodd farwolaeth ir byd: Nid yw y gwr hwn o Dduw yr hwn sydd yn gwneuthur ac yn llefaru mor wrthwyneb i Dduw.*

Bern. ep. 240.

Yn nessaf ni a ystyriwn arferiad y *Waldensiaid*, y rhai oedd y Christnogion puraf yn yr oes hon, ac mewn ymneullduaeth oddiwrth Eglwys Rhufain. Yn hytrach ni a ymofynnwn ynghylch eu harferiad hwynt o herwydd bod rhai yn dywedyd * eu bod yn erbyn bedydd plant. Gwir yw, y mae y papistiaid, eu gelynion, yn taflu y gwradwydd hwn arnynt. Felly y mae *Cluniacensis* ac eraill, a chredodd *Bernard* y drygair oedd iddynt hwy, ac am hynny y mae yn dywedyd eu bod hwynt yn erbyn bedydd plant, ac o sect y *Manichæid*, eithr nid oeddent hwy euog or naill na'r llall.

* *Mr.* Tombs, *Mr.* Danvers, &c.

Bern. ep. 140.

Yr

Yr achos pa ham yr oedd y gair iddynt eu bod yn erbyn bedydd plant, oedd o herwydd eu bod yn oedi eu bedyddio nes cael eu gweinidogion eu hunain, y rhai oeddent yn fynych yn wascaredic o herwydd erledigaeth, ac nid oeddent yn bodloni ir Offeiriaid pabyddaidd iw bedyddio.

Ni allwn weled eu barn hwynt ynghylch bedydd plant yn eu Cyffes hwynt. *Ir diben hwn* ( sef fel y byddo ir gynnulleidfa weddio trostynt) *yr ydym yn cyflwyno plant bychain iw bedyddio , yr hyn a ddylent hwy ei wneuthur sydd yn berthnasseu agos iddynt, megis y rhieni, &c.* Perin. *Hist. of the Wald. part the III. lib.* 1. *cap* .

Yr un modd y dywedant hwy mewn Cyffes arall—— *yr ydym yn derbyn swpper yr Arglwydd i ddangos ein bod yn parhau yn y ffydd, megis yr addawsom ni yn ein bedydd pan oeddem yn blant bychain.* Perin. *Hist. lib.* 2. *cap.* 4.

Fel hyn y gwelwn ni yr Arferiad o fedydd plant ymhlith y Christnogion hynod hynny, y rhai oedd y Tystion cyntaf yn Erbyn Angrist, ac a ddioddefasant hyd at waed.

Y mae arferiad bedydd plant ymhlith y Waldensiaid yn hytrach iw nodi, o herwydd mae'r gweddillion puraf oeddent or brif-eglwys, a thadau y diwygiad. Adeiladodd y Protestants ar y sylfaen a osodasent hwy.

Felly ynteu parhaodd arferiad bedydd plant yn eglwys Dduw ymhob oes hyd yr oes ddiwethaf, yr oeddid yn eu bedyddio yn eglwys yr Iddewon cyn dyfodiad Christ, bedyddiwyd hwynt gan *Joan*, a chan yr Apostolion, megis y profasom eusus, a pharhaodd yr Arferiad o honaw yn yr Eglwys Gristnogawl, yn yr oesoedd puraf o honi, ac i wared drwy bob oes hyd yr amser yr ymddangosodd *Luther* a *Chalvin*, a llawer eraill o wyr duwiol a dysgedig y rhai a gyfododd yr Arglwydd i ddiwygio eglwys Dduw, ac iw galw allan o *Babylon*. Yr oeddent hwy oll yn cydsynnio ynghylch bedydd plant, ac nid oedd yr un o honynt yn ammeu rhagorfreintiau plant. Nes ir gwrthwynebwr ddyfod *tra yr oedd dynion yn cysgu a hau efrau ymhlith y gwenith.* Mat. 13. 25

7356

Y

Y cyntaf a fedyddiodd rai yr ailwaith yn Lloegr oedd *John Smith*, gwenidog o eglwys Loegr, yr hwn a aeth i *Holland*, ac a unodd gydâg Eglwys Mr. *Ainsworth*, yn y diwedd wedi ei fwrw ef allan or Eglwys honno am amryfusedd, efe ai bedyddiodd ei hun, ac yna efe a ail-fedyddiodd eraill. See *Ainsworth*'s *Defence of Scripture*. Jessop's *Discovery of the Errors of Anabaptists*, p. 65. Clifton's *Christian Plea*.



J726 | 22

P PEN.

J729 [illegible] 25

2

## PEN. XV.

*Fe a ddylid bedyddio plant, o herwydd bod hynny yn fodd rhagorol i blannu 'r grefydd Gristnogol.*

### Rhefwm XII.

Y Mae bedydd plant bychain yn fodd rhagorol i blannu ac i barhau y grefydd Griftnogol ar y ddaiar. Fe ddylei pob gwir Griftion geifio llwyddiant y wir grefydd, *a*
Pf. 137.6. *chodi Jerufalem goruwch ei lawenydd pennaf.* Yr hwn nid yw yn *ceifio*
Pf. 122.9. *iddi ddaioni* nid gwir ddifcybl i Ghrift ydyw. Yn awr, os ydym yn *ceifio daioni Zion,* oni ddylem dderbyn y moddion a ordeiniodd Duw er adeiliad iddi, *i helaethu lle ei phabell, ac i eftyn Cortynnau ei phrefwylfeydd?* un or moddion hyn yw bedydd plant y ffyddloniaid. I wneuthur hyn yn eglur, ni a yftyriwn.

I. Fod bedydd yn fodd a ordeiniodd Duw i blannu ac i barhau eglwys Dduw. Fel hyn y gorchmynnodd

nodd Christ iw Apostolion i gasclu eglwysi ymhlith y Cenhedloedd gan *eu dyscu ai bedyddio yn enw'r Tad, ar mab, ar yspryd glan.* Mat.21.19

II. Y mae bedydd plant yn fodd rhagorol ir un diben, sef i blannu'r wir Grefydd, ac i bathau Eglwys Dduw.

1. Y mae yn fodd rhagorol ir diben hyn, fel y mae yn gwneuthur plant bychain yn ddiscyblion i Ghrist. Na ryfedded neb fod plant bychain o rif discyblion Christ, Canys gelwir hwynt felly, *Act.* 15. 10. *Pa ham yr ydych chwi yn temptio Duw i ddodi jau ar warrau y discyblion.* Y discyblion hyn oedd y ffyddloniaid ai had, y rhai a fynnasei'r *Pharisæaid Christnogol* enwaedu arnynt *yn ol Cyfraith Moses.* Yr oedd Cyfraith Moses yn gorchymmyn enwaedu ar blant *yn wyth niwrnod oed*, yr enwaediad hwn y mae'r Apostl Petr yn ei alw *yn jau ar warrau y discyblion*, sef plant bychain. Gwir yw, ni allant hwy ddyscu trwy weinidogaeth y gair, etto discyblion ydynt, ac efe wyr Christ pa fodd i gyfrannu dyscieidiaeth ddirgel iddynt trwy ei ys- Act.15.10.

Isa. 54. 13. pryd, yn ol ei addewid. *Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dyscu gan yr Arglwydd.*

2. Y mae bedydd yn gosod plant bychain tan addunedau a rhwymedigaethau neullduol i fod yn eiddo yr Arglwydd. Y mae'n ddiammeu y gallant dderbyn y Cyfryw rwymedi-
Deut. 29. gaeth yn awr megis gynt. Ac y
11, 12. mae mor sicer fod y rhwymyn hwn yn faintais fawr i gwneuthur hwynt yn ewyllyscar i gymmeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt pan ddelont i oedran a synwyr. Y mae Duw wedi achub y blaen arnynt trwy ras ei Gysammod cyn iddynt allel dewis Satan a phechod. Derbyniodd Duw hwynt iw deulu cyn iddynt allel gwneuthur dim gwasanaeth iddo. Y mae nod yspryd Duw arnynt cyn ir yspryd drwg gael meddiant o honynt. Y mae yr ystyriaeth hon yn rhinweddol i sefydlu eu calonnau yngh ysammod Duw, ac i wrthwynebu profedigaethau Satan. Y rhai nis bedyddiwyd yn eu mebyd ydynt fwy noeth iw brofedigaethau ef.

Mae'r

Mae'r natur lygredig sydd mewn dyn yn dueddol i'r drwg ac yn fynych yn torri holl rwymau Cyfammod Duw, pa faint mwy angerddol ac ynfyd-wyllt ydyw pan y gadewir iddi ei hun yn ddi-rwymyn.

Or tu arall, nid oes gan Satan y cyfryw faintais yn erbyn y rhai a fedyddiwyd yn eu mebyd, pan ydyw yn eu temptio iw wasanaethu ef ar pechod, gallant atteb eu bod hwynt *wedi ymwrthod âr diafol ac ai holl weithredoedd, wedi ym wrthod â choeg rodres, a gwagorfoledd y byd, ai holl chwantau cybyddus, wedi ymwrthod âg anysprydol ewyllys y Cnawd ai chwantau*, yn adduned eu bedydd. *Ac na allant hwy ddewis Meistr arall, o herwydd iddynt gymeryd y Drindod ogoneddus i fod yn Dduw iddynt pan y bedyddiwyd hwynt yn enw'r Tad, ar Mab, a'r yspryd glan.* Mae *Luther* yn sôn am wraig Dduwiol yr hon pan temptiai Satan hi i ryw bechod, a attebai *baptizata sum, bedyddiwyd fi, ac ni allaf dorri fy adduned.*

3. Y mae bedydd plant yn fodd rhagorol i blannu'r wir grefydd, ac i barhau eglwys Dduw trwy roddi

mantais i weinidogion yr Efengyl i ymresymmu ar cyfryw pan ddelent i oedran, yn amgenach nac y gallant wneuthur ar rhai nis bedyddiwyd. Hwy a allant ddwyn ar gof iddynt addunedau eu bedydd, a galw arnynt i cyflawni hwynt, hwy a allant ddangos iddynt mor ddrwg iw *ymado â llywodraethwr eu jeuengctid, a gollwng dros gof gyfammod eu Duw.* Pa ddyledswyddau bynnag a maent yn eu hannog iddynt, sef i gredu, i edifarhau, ac i fyw yn sanctaidd, y mae ganthynt un rheswm yn ychwaneg i arferu tuac attynt hwy na thuac at eraill, *nad ydynt yn eu hannog i un ddyledswydd ond ir hon y maent yn rhwym eusus trwy gyfammod eu bedydd, ac nid ydynt yn ei galw i ymado ag un pechod, ond yr hwn a wrthodasant yn addunedau eu bedydd.* Amlygir iddynt yngweinidogaeth y gair pa fodd y tyngasont ir Arglwyd, ac na allant gilio yn ol. Y rhai sydd *ddoeth i ennil eneidiau* a gawsont lawer o lwyddiant yn y ddull hon o ymresymmiad â phechaduriaid, iw denu i edifeirwch, ac i fywyd sanctaidd.

4. Y

4. Y mae bedydd plant mor effeithiol i barhau'r wir grefydd ac i amlhau eglwys Dduw yr awrhon ac oedd enwaediad gynt. Rhyngodd bodd i Dduw i barhau'r wir grefydd ymhlith yr Iddewon trwy ddwyn eu plant hwynt *tan rwym y Cyfammod.* Ni adawodd efe monynt i rhydd-did eu hunain i ddewis eu Crefydd, eithr rhwymodd hwynt yn wyth niwrnod oed i gymmeryd efe i fod yn Dduw iddynt. Trwy'r ffordd hon y parhaodd y wir grefydd ac eglwys Dduw ar y ddaiar yn agos *i ddwy fil o flynyddoedd* o amser Abraham hyd ddyfodiad Christ. Gwelodd *anfeidrol ddoethineb* yn dda i barhau ei eglwys ar y ddaiar, trwy osod rhwymedigaeth cryf ar blant y ffyddloniaid i dderbyn Duw eu tadau; na chymmered neb arnynt fod yn *ddoethach nâ Duw,* trwy adel plant yn awr i wysc eu pennau eu hunain, i ddewis eu crefydd heb rwym Cyfammod Duw arnynt. Mae'r natur ddynol mor llygredic yr awrhon ac oedd gynt, mor amharod i bob da, ac mor dueddol i bob drwg, ac am hynny mae rhwym Cyfammod Duw mor anghenrheidiol

henrheidiol i blant bychain yr awrhon ac oedd gynt.

5. Y mae'r Arglwydd wedi bendithio bedydd plant bychain i fod yn fodd i barhau'r wir grefydd, ar eglwys Griftnogol ar y ddaiar o ddyddiau'r Apoftolion hyd y dydd hwn. Nid yw'r Arglwydd yn rhoddi ei fendith neullduol ond ar ei Ordinhadau ei hun. Nid ydyw yn argraphu fél y Nefoedd ar ddychymygion daiarol. Ni all neb ammeu nad oes miloedd a fedyddiwyd yn blant yn teimlo ynthynt eu hunain rinwedd eu bedydd pan ddelont i oedran, y mae eu bedydd yn annogiaeth iddynt i etifarhau a chredu yn yr Arglwydd Jefu. Fel y bendithiodd Duw enwaediad gynt, trwy roddi *enwaediad y galon* ir rhai yr enwaedwyd arnynt yn eu mebyd, felly y mae yn bendithio bedydd, gan roddi *bedydd yr yfpryd ar adenedigaeth* ir rhai a fedyddiwyd yn eu mebyd.

6. Y mae bedydd plant yn rhagflaenu yr efgeulufdra cywilyddus o fedydd. Pe baet yn gadel plant heb eu bedyddio fe fyddei mor anhawdd i berfwadio llawer o bobl dda i dderbyn

byn bedydd ac yw yr awrhon i perſwadio hwynt i dderbyn ſwpper yr Arglwydd. Mae natur dyn yn anewyllyſcar jawn i ſyned tan rwymedigaethau cyfyng ac yſprydol. Yr ydym yn ddarllen yn hiſtori y brifeglwys fod amryw wyr da a ddychwelodd oddiwrth baganiaeth yn oedi derbyn bedydd hyd eu dyddiau diwethaf.

Yr oedd *Conſtantin* yn oedrannus jawn cyn ei fedyddio, ac wedi ſyrthio i gleſyd or hwn y bu ſwrw. Ni fedyddiwyd *Theodoſius* nes iddo ſyrthio yn glaf, fel y dywed *Socrates*. Ac nid oes i ni feddwl y byddei pobl yn ſwy parod i dderbyn bedydd yn yr oeſodd hyn, nac yr oeddent yn y rhai a aethant heibio. *Theod.* l. 31. *Socr.* V. 6.

PEN.

# PEN. XVI.

*Y gwrthresymmau yn erbyn bedydd plant bychain, ac attebion perthnassol iddynt.*

FEL hyn y profasom trwy'r scrythurau, a thrwy resymmau scrythurol y dylid bedyddio plant y ffyddloniaid. Os edrychwn ar y gwirionedd hwn yngoleuni'r scrythurau uchod fe ddiflanna y gwrthresymmau o honynt eu hunain. Etto er mwyn y rhai gweinion mi a osodaf ar lawr y rhai cryfaf o honynt.

I. Gwrthreswm, Nid oes un gorchymyn na siampl yn yr ysgrythur am fedyddio plant bychain.

Att. Nid oes un *gorchymyn neullduol* mewn enifer o eiriau yn enwi bedydd plant, ac nid yw hynny angenrheidiol; eithr y mae *gorchymyn Cyffredinol*, yr hyn sydd ddigon. Gorchmynnir ir Apostolion *fedyddio yr holl genhedloedd*, o ba rai mae plant yn rhan fawr. Os oes gorchymyn am fedyddio'r rhieni, mae gorchymyn

myn am fedyddio'r plant, Canys cynhwysir y plant yn y rhieni, megis rhannau o honynt, sy gyfrannogion o ragorfreintiau rhieni da, ac o farnedigaethau rhieni drwg. Nid oes un gorchymyn neullduol am fedyddio gwragedd, etto nid ammeu neb na chynnwysir hwynt yn y gorchymmyn Cyffredinol. Nid oedd un gorchymyn neullduol tan y gyfraith am adeiladu Synagogau ac addoli Duw ynthynt, etto yr oedd y naill ar llall yn ddyledswydd yn ol gorchymynion Cyffredinol. Nid oes un gorchymyn neullduol am gadw y dydd Cyntaf or wythnos yn Sabbath sanctaidd i Dduw, etto yr ydym yn Casclu oddiwrth yr scrythurau mae ewyllys Christ ydyw i ni wneuthur felly. Dangosed y rhai sydd yn erbyn bedydd plant ple mae un gorchymyn yn yr holl scrythur am fedyddio drachefn y rhai a fedyddiwyd yn eu jeuengctid, Exod. 20. 5

2. Ni a ddangosasom eusus fod llawer o siamplau yn yr ysgrythur am fedydd plant, y rhai sydd amlwg ir neb a ddeallo gyd-gordiad a chanlyniad scrythurol.

II. Gwrthres.

II. Gwrthrefs. Mae'r fcrythur yn galw ar rai i gredu cyn eu bedyddio. *Y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig.* Yn ol y rheol hon nid
Mar. 16. 16 oedd yr Apoftolion yn bedyddio neb
Act. 2. 38. nes iddynt gredu.

Att. Pan ydyw'r fcrythur yn dywedyd, *y neb a gredo, ac a fedyddier*

1. Y mae hi yn fôn am rai mewn oedran, fef y Cenhedloedd digred (at ba rai danfonodd Chrift ei Apoftolion, *Mar.* 16. 15. *Mat.* 28. 19.) ac nid am blant y ffyddloniaid. Mae Chrift yn eu danfon *ir holl fŷd, i bregethu yr Efengyl ir holl Genhedloedd*
Mar. 16. 15, 16. Paganaidd, ac yn dywedyd *y neb a gredo, ac a fedyddier a fydd Cadwedig*, i ddangos nad oedd na bedydd na jechydwriaeth yn perthyn iddynt nes iddynt gredu yn yr Arglwydd Jefu. Pe baem ni i bregethu ir Cyfryw rai, ni fedyddiem ni neb nes iddynt gredu: Eithr beth yw hyn i had y ffyddloniaid, am ba rai nid yw Chrift yn fôn?

Mae'n ficcr nad yw'r fcrythur hon yn fôn am blant, os ydyw, rhaid eu bod hwy oll yn ddamnedig o eifiau ffydd; yr hon ni all fod yn weithredol

dol ynthynt. Mae'r Apostl yn dywedyd, *os bydd neb ni fynn weithio, ni chaiff fwytta chwaith.* Onid annaturiol y fydde'r Tad hwnnw yr hwn a gymmerei achlysur oddiwrth yr ysgrythur hon i newynu ei blant bychain o herwydd na allant weithio. Felly pan yw Christ yn dywedyd, *y neb a gredo ac a fedyddier,* nid yw yn canlyn na ddylid bedyddio neb nes iddynt gredu. 2 Th. 3.10.

2. Ni a brofasom eusus ir Apostolion fedyddio nid yn unig rhai o oedran pan gredent, eithr plant y Cyfryw hefyd. Y rhai a fedyddiasont ar ol iddynt gredu, oeddent heb dderbyn bedydd Christ or blaen, nid ydym ni yn darllen iddynt fedyddio'r un mewn oedran, a fedyddiasid or blaen pan oeddent plant.

III. Gwrthres. Nid yw plant bychain yn deall beth yr ydys yn ei wneuthur, ac am hynny pa lesad a all bedydd wneuthur iddynt?

Atr. Y mae'r gwrthresiwm hwn nid yn unig yn erbyn bedydd, ond yn erbyn yr Enwaediad hefyd. Nid oedd plant yn gwybod beth a wneyd iddynt pan yr enwaedid arnynt,

etto yr oedd yr Ordinhâd yn fuddiol iddynt. Na ryfyged neb fod yn ddoethach na Duw, yr hwn a wyr pa fendithion mae *yn eu rhoddi* i blant y ffyddlonlaid, er na wyddant hwy beth y maent *yn ei dderbyn.* Fe all plentyn bychan dderbyn rhodd fawr.

Rhuf. 9. 20. Gan hynny, *pwy wyti, ô ddŷn, yr hwn a ddadleui yr erbyn Duw? pwy a gyfarwyddodd yspryd yr Arglwydd, â phwy yr ymgynghorodd ef, je pwy ai cyfarwyddodd ac ai dyscodd mewn llwybr*

Isa. 40. 13, 14. *barn? ac a ddyscodd iddo wybodaeth, ac a ddangosodd iddo ffordd dealldwriaeth?*

IV. Gwrthref. Yr oedd Christ ynghylch deg ar hugain oed pan y

Lu. 3. 23. bedyddiwyd ef.

Att. 1. Er na fedyddiwyd mohonaw nes ei fod yn ddeg ar hugain oed, enwaedwyd arno pan oedd wyth niLu. 2. 21. wrnod oed.

2. Ni oedodd fedydd o herwydd nad oedd gymmwys ei dderbyn, Canys yr ydoedd ef yn berffaith sanctaidd or groth: am hynny os ydym yn rhwym i ganlyn ei siampl ef yn hyn o ran, ni ddylid bedyddio neb or rhai a gredant nes byddont yn

ddeg ar hugain oed, eithr nid yw y rhai sydd yn erbyn bedydd plant yn rhodio yn ol y rheol hon, ac am hynny nid ydynt yn tybied fod y siampl hwn yn eu rhwymo hwynt.

3. Mae llawer o weithredoedd Christ er addysc i ni, y rhai nid ydynt iw Canlyn, ar cyfryw oedd ei fedydd ef pan ydoedd yn ddeg ar hugain oed, yr oedd yn ewyllyscar i ddwyn tystiolaeth i weinidogaeth Joan, yr hwn a ddechreuasei fedyddio ychydig or blaen: Fel nad yw ei siampl ef yn cymmeryd y weinidogaeth arno pan oedd ddeg ar hunain oed, ac nid yn gynt, yn rhwymo pawb eraill i ganlyn ef, felly nid yw ei siampl ef yn cymmeryd ei fedyddio yn yr un flwyddyn yn rheol i bawb eraill.

V. Gwrthref. Os yw bedydd yn perthyn i blant, pa ham nad ydych yn rhoddi Swpper yr Arglwydd iddynt.

Att. O herwydd bod yr Apostl yn gorchymmyn ir rhai a dderbyniant Swpper yr Arglwydd *eu holi eu hunain, a dirnad Corph yr Arglwydd*

yr hyn ni all plant bychain ei wneuthur.

2. Bedydd yw Sacrament ein hadenedigaeth ni, a'n derbyniad i eglwys weledig Dduw. Swpper yr Arglwydd yw Sacrament ein tyfiant an hymborth ysprydol ni.

3. Felly yr oedd gynt, er bod enwaediad yn perthyn i blant bychain, nid oedd oen y Pasc yn perthyn ond i rai o oedran.

John Williams
Ei Gwir-berchenog
y llyfr hwn ar ol
[illegible] 1794

John Williams

P PEN.

# PEN. XVII.

*Y rhai sydd yn ail fedyddio ydynt euog o lawer o bechodau trwy wneuthur felly.*

NI a welsom yn ol yr ysgrythurau mae dyledswydd eglur yw bedydd plant y ffyddloniaid, ac ni a attebasom mewn byrr y gwrthresymmau yn ei erbyn, ni a ddangoswn yn y bennod hon, mor fawr yw pechod y rhai a demptir i wadu'r bedydd â dderbyniasant pan oeddent blant bychain, ac i gymmeryd eu bedyddio drachefn. Mae llawer o bobl heb adnabod er joed natur eu bedydd cyntaf, yn cael eu gwyrdroi i ymwrthod âg ef, ac yn tybied eu bod yn rhyngu bodd i Dduw trwy wneuthur felly. Eithr y maent yn syrthio i *brofedigaeth a magl diafol*, yr hwn yw awdur amryfusedd a thad y celwydd.

1. Y maent yn euog o bechod mawr, gan iddynt *esgeuluso gwneuthur janwn ddefnydd o'i bedydd Cyntaf.*

Mae bedydd plant yn eu gosod tan addunedau parhaus ir Arglwydd, ac y maent yn rhwym i adnewyddu eu haddunedau, ac i gymmeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt, cyn gynted ac y delont i oedran a synwyr. Eithr pa mor ychydic sydd yn gwneuthur felly? Mae y rhan fwyaf o blant pan ddelont i oedran naill ai yn anwybodol, ai yn anystyriol o addunedau eu bedydd. Yr achos o hyn mewn mesur mawr yw esgeulusdra gweinidogion, a phennau teuluoedd, yn Catecheisio ac yn dyscu i blant brif-byngciau'r grefydd Gristinogol. Yn y Cyflwr dall anwybodol hwn y mae y rhan fwya yn byw lawer o flynyddoedd wedi dyfod i oedran, heb unwaith adnewyddu cyfammod eu Bedydd mewn difrifwch: Yna pan ddechreuo yr Arglwydd ddeffroi eu cydwybodau hwynt, a'u hargyoeddi o bechod, y maent yn deimladwy na ddarfu iddynt ddwyn ffrwythau addas oi bedydd cyntaf; ar hyn y mae Satan yn eu temptio i fwrw'r bai ar eu bedydd, megis pe buasei hwnnw yn ddrwg, pan y dylent feio yn gwbl arnynt eu hunain, am esgeuluso
adnewyddu

adnewyddu a chyflawni addunedau eu bedydd, yr hyn a allant ac a ddylent wneuthur heb adnewyddu eu bedydd. Yr ydwyfi yn appelio at gydwybodau y rhai a ail-fedyddiwyd onid yw'r peth fel hyn? Gadawent iw cydwybodau ddywedyd, a hwy ai argyhoeddant or esgeulusdra pechadurus hwn, na ddarfu iddynt er joed jawn ddefnyddio eu bedydd Cyntaf, pe derbyniasent lefhad oddiwrth y cyntaf ni ymwrthodasent âg ef byth.

2. Maent yn euog o bechod mawr *trwy halogi ordinhâd Christ*. Nid pechod bychan yw halogi pethau Sanctaidd, er i rai wneuthur felly mewn anwybodaeth. Ordinhad sanctaidd yw bedydd, yr hon ni ddylid eu derbyn ond unwaith. *Eph.* 4. 4. *un Arglwydd, un ffydd, un bedydd.* Gan hynny y rhai a adnewyddant eu bedydd sy'n *cymmeryd enw yr Arglwydd Dduw yn ofer, ac nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei enw ef yn ofer.* Exod. 20. 7. Y mae enw'r Arglwydd ar ei holl ordinhadau, ac yn briodol ar yr Ordinhad o fedydd. Canys bedyddir ni *yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r*

*yspryd*

*yspryd glan.* Ac ni ddylid cymmeryd yr enw sanctaidd hwn yn ofer.

3. Y maent yn euog o *Anghrediniaeth*, oddieithr i Dduw i ddywedyd wrthynt mewn cnifer o eiriau *bedyddiwch eich plant*, ni chredant ddim. Y mae ffydd yn edrych ar bob amnaid o eiddo'r Arglwydd, ac yn cascIu ei feddwl ef oddiwrth yr ymddangosiad lleiaf oi ewyllys ef. Yr oedd y wraig ar ddifer-lif waed yn credu *os cae hi yn unig gyffwrdd a gwisc yr Arglwydd Jesu, y byddei hi jach*, er nad oedd ganthi nac addewid, na gorchymmyn, na siampl neullduol iw hannog i wneuthur felly, etto y mae hi yn credu digonolrwydd ei allu a'i drugaredd ef. Y neb nid ydynt yn credu helaethrwydd y Cyfammod Gras, ar hawl sydd gan blant y ffyddloniaid i sel y Cyfammod, y maent trwy anghredinia-eth yn pechu yn erbyn yr *Addewid*, ar *gorchymmyn*, ac yn erbyn *siamplau* lawer.

Y mae'r wraig o Ganaan yn dyfod yn hyf ai phlentyn at Ghrist i dderbyn llesháad oddiwrtho, er nad oedd hi mewn Cyfammod gweledig

Mat. 15. 22--28.

a

â Duw, ac y mae Christ yn Canmol ei ffydd hi, ac yn derbyn ei merch hi: Mae ei ffydd hi yn torri trwy'r holl rwystrau. Nid oedd hi yn *un o ddefaid colledig tu Israel*, nid oedd hi yn un or *plant*, ond yn hytrach yn cael eu chyfri ymhlith y *Cwn* y rhai *syd oddiallan*; etto ni chymmerei hi neccád, eithr gweddiodd, dadleuodd, credodd, a gorchfygodd. Y mae hi yn credu, ac y mae Christ yn jachau ei merch er mwyn ei ffydd hi. Y mae gennym ni fwy o annogiaeth i gredu y bydd i Ghrist i dderbyn ein plant ni. Yr ydym ni yn *ddefaid o dŷ Israel*, yn *blant* i Dduw, ac oni ddylem ni i gredu dros ein plant y bydd i Ghrist eu derbyn hwynt? a ydyw ef yn amharottach i gyfrannu bendithion ysprydol nac yr oedd i gyfrannu bendithion tymhorol i Blant y ffyddloniaid? os *mawr oedd ei ffydd* hi, *yr hon yn erbyn gobaith a gredodd tan obaith*, onid mawr yw dy anghredinlaeth di, yr hwn wyt yn dinistrio *seilian gobaith* mewn perthynas ith blant. O na fydded iti *ammeu addewid Duw trwy anghrediniaeth*, eithr ym-

*Dent.* 22. 15.

*Gal.* 6. 16.

*Act.* 2. 39.

*ymnertha yn y ffydd gan roddi gogoniant i Dduw.*

4. Y maent yn euog o *falchder*, y mae yspryd iffel yn ymddarostwng i bob maeth o ddatcuddiad o ewyllys Duw. Fe adawodd Duw amryw bethau yn dywyll yn yr ysgrythurau, fel y byddei i ni i chwilio hwynt, a barnu yn iffel am danom ein hunain, y rhai ydym *yngwybod* pethau *o ran* yn unig, ac yn *gweled trwy ddrych mewn dammeg*. Onid balchder mawr ydyw i ddyn gwael gymmeryd arno i ddyscu Duw pa fodd i ddywedyd yn ei air? *Dyweded yr Arglwydd ei feddwl yn egluraeh ynghylch bedydd plant, ac onid e ni chredwn ni ddim*, medd rhai. Onid Syniad balchder calon Dyn ydyw hyn? Y mae'r galon iffel yn chwilio'r ysgrythurau, yn ystyried cyffondeb y naill fcrythur ar llall, yn credu cyd-gordiad yr Hen Destament a'r Newydd, ac yn ofni pob llwybr diammwy. Y mae llawer o wirioneddau megis trysor dirgel wedi guddio ymmaes yr fcrythurau, yr hwn y mae'r gostyngedic yn ei chwilio, ac yn ei gaffael, eithr y

y mae'r balch yn ei ddiystyru, ac yn dyfod yn f rr o honaw.

Nid wyfi yn dywedyd mae pobl feilchion yw y rhai fydd yn erbyn bedydd plant, eithr mae balchder y galon fydd yn gwneuthur iddi ymryson âr cyfryw wirioneddau nid ydynt or un eglurhâd a gwirioneddau eraill. Balchder calon Joan wnaeth iddo ddywedyd, *Oni chaf weled yn ei ddwylo ef ôl yr hoelion, a dodi fy mys yn ol yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf i.* Felly dywed rhai, oni ddangofwch chwi i ni ryw orchymyn neu siampl eglur o fedydd plant, ni chredwn ni mae o Dduw mae: Eithr pe ni bae na gorchymmyn na siampl (er bod y ddau am fedydd plant) os bydd Canlyniad fcrythurol yn dangos y dylid eu bedyddio, mae hynny yn ddigon i fodloni yspryd iffel ymofyngar am y gwirionedd. Fe gaeodd Chrift fafnau y Sadduceaid ynghylch yr Adgyfodiad trwy ganlyniad fcrythurol.

Thomas oedd efe nid Joan
Jo. 20. 25.

Mat. 22. 31, 32.

5. Y mae y rhai fydd yn erbyn bedydd plant, ac yn derbyn ail-fedydd yn euog o *angharíad mawr. Caríad yw diwedd y gorchymmyn, cy-*

1 Tim. 1. 5.

*flawnder*

*flawnder y gyfraith yw cariad*, je,
Gwel, cyflawnder yr Efengyl hefyd yw ca-
1 Cor. 13. riad. Ac am hynny ni a ddylem
1, 2, 3. fod yn eiddigus o bob Opiniwn sydd
yn dinistrio cariad. *Duw Cariad yw*, ar gwirioneddau hynny sy o Dduw y maent yn gyttun â chariad; eithr y mae'r Opiniwn sydd yn gwadu bedydd plant yn Opiniwn angharіadus jawn attynt. Onid barn anghariadus yw'r hon sydd yn eu bwrw allan o deulu Dduw, o ba un y buont yn aelodau rai miloedd o flynyddoedd? Onid barn anghariadus yw'r hon sydd yn eu esgymuno allan o eglwys Dduw, a hynny yn ddiachos, cyn iddynt wneuthur dim i haeddu'r farn galed hon? Onid barn anghariadus yw'r hon sydd yn neccau iddynt yr un lle yn y Cyfammod gras tan yr Efengyl, ac oedd ganthynt tan y gyfraith? Onid anghariadus yw'r farn honno sydd yn gwneuthur eu cyflwr yn waeth ar ol dyfodiad Christ nac ydoedd or blaen? Mewn
Act. 2. 39. byrr, onid anghariadus yw'r farn honno sydd yn neccau iddynt ran yn yr addewid, yr hon yw unig sylfaen eu jechydwriaeth hwynt? Onid yw

Duw

Duw *yn Dduw i hâd* y ffyddloniaid, pa obaith a allwn i gael o'u jechydwriaeth?

6. Y mae'r Sawl sydd yn erbyn bedydd plant, ac yn ei adnewyddu mewn oedran yn euog o *anniolchgarwch* mawr tuag at Dduw. Ni a wyddom mae pechod mawr yngolwg yr Arglwydd yw anniolchgarwch. Mae anniolchgarwch am fendithion tymhorol yn cyffroi ei ddigofaint ef, pa saint mwy am fendithion a rhagorfreintiau ysprydol. Ennynnodd llid yr Arglwydd yn erbyn plant Israel o herwydd iddynt ddiystyru'r *Manna*, yr hwn ydoedd yn arwydd o fendithion ysprydol. Ac a dybiwn ni na ddigia Duw wrthym os byddwn anniolchgar am ragorfreintiau ein jeuengctid? Os ydyw efe mor rasol a'n derbyn iw gyfammod pan oeddem yn blant bychain, onid anniolchgarwch mawr ydyw i ni ddiystyru ein genedigaethfraint? Mae'r scrythur yn gosod nôd o wradwydd ar Esau, am iddo *ddiystyru ei anedigaeth fraint*, oh na fydded i ni fod yn debyg iddo, rhag i ni golli'r fendith. Fe allei dywedi

*Rhuf.* 1 21. *Lu.* 17.17, 17, 18.

*Gen.* 25.34

di, *gwerthodd Esau ei enedigaeth-fraint am un saig o fwyd*, am hynny collodd y fendith. Gwir yw, efe a wnaeth felly, am hynny mwy oedd ei bechod. Eithr gochel di fod yn debyg iddo gan *ddiystyru dy enedigaeth-fraint* am un achos neu gilydd. Ar ba achlysur bynnag yr wyt yn gwneuthur felly, y mae dy bechod yn aros; er nad ydyw or un *radd* ai bechod ef, y mae or un *natur*, sef *diystyrwch a dirmyg o'th enedigaeth-fraint*.

7. Yr wyti yn euog o bechod mawr trwy wneuthur *ymranniad ynghorph*
Eph. 4.4,9. *Christ. Y mae un Corph, ac un bedydd*, ac ni ellir gwahanu mo honynt, gan hynny trwy wadu dy fedydd cyntaf, yr wyti yn torri undeb y Corph hwnnw, i'ba un y mae Christ yn ben; yr wyti yn dy dorri dy hun oddiwrth yr winwydden, ac yn crino megis cangen anffrwythlon, yr hon ni bydd hi ddim gwell er ei *dwfrhau* drachefn. Yr wyti yn dy dorri dy hun, nid oddiwrth y Gynnulleidfa hon neu arall yn unig, ond oddiwrth yr *Eglwys Gatholic* gyffredinol o bob oes a gwlad ar wyneb y ddaiar,

ddaiar, yr hon sydd wedi ei *glanhau* *Eph.* 5. 26.
*â'r olchfa ddwfr, trwy'r gair*, ac yn parhau mewn *undeb bedydd*. A gelli di feddwl mae pechod bychan yw hwn, iti dy rwygo dy hun oddiwrth gorph Christ? Er bod *dyfroedd lledrad yn felus* yr awr hon, *a bara cudd yn beraidd*, gwybydd a gwel mai drwg a chwerw fydd yn y diwedd, iti dy fwrw dy hun allan o *eglwys y Duw byw, colofn a sylfaen y gwirionedd.*

Y mae'r *ymranniad* hwn yn rhy debyg i ymranniad yr hen *Ddonatistiaid* gynt, y rhai a ymneullduent oddiwrth holl eglwys Dduw, ac a haerent mae eu plaid ddirmygus hwynt oedd unig eglwys Dduw, ac ir diben hynny yr oeddent *yn ail fedyddio* pawb a ddeuei atynt, nid oherwydd eu bod wedi eu bedyddio yn blant, ond o herwydd eu bod wedi eu bedyddio gan *bechaduriaid*, fel yr oeddent hwy yn cyfrif pawb oedd or jawn ffydd.

* *Vid. Opt. ad Parmenion. lib.* IV.

Ni bydd anfuddiol i ni ystyried barn y brifeglwys ynghylch ail fedyddio. Fel hyn y dywed *Optatus*.

Opt. lib. V. p. 51. *Et quid vobis visum est, non post nos, sed post Trinitatem, baptisma geminare? Pa ham yr ydych yn ail fedyddio, nid ar ein ôl ni, ond ar ol y Drindod?*

Opt. lib. V. p. 61. *Quicunque à vobis se rebaptizari consenserit, resurget quidem, sed nudus, quia à Nuptiali veste à vobis se expoliari permisit. Pwy bynnag sydd yn cael ei ail feaydddio gennych chwi, efe a adgyfyd yn ddiau, eithr yn noeth, o herwydd iddo adel i chwi ei ddiosci, ai yspeilio o'i wisc briodas.*

Ad Eleusi-um---- ep. 163. Y mae *Austin* yn dywedyd, *Revera enim fieri potest, ut sceleratior sit rebaptizator totius hominis, quam solius Corporis interemptor. Y mae'n bossibl y gall yr hwn sydd yn ail fedyddio'r holl ddyn, fod yn waeth na'r hwn a laddo'r Corph yn unig.*

Ad Maximum, ep. 203. Drachefn, *Rebaptizare hæreticum hominem omnino peccatum est; rebaptizare autem Catholicum, scelus est immanissimum. Pechod ydyw ail fedyddio hæretic, eithr ail fedyddio Catholic,* neu un yn undeb yr Eglwys gyffredinol, *drygioni erchyll ydyw* *.

* Aug. de unico baptis. cap. 13.

Os yw neb yn barnu'r geiriau hyn yn eiriau caled, ystyrient mae geiriau

au *Austin* ydynt, ac nid fyngeiriau i; yr ydwyf yn ei gosod i lawr i ddangos barn yr hen eglwys ynghylch ail fedyddio.

8. Y maent yn euog o bechod mawr trwy roddi *tramgwydd* i lawer a fedyddiwyd yn blant, gan eu temptio i dybied nad ydynt tan *addunedau i Dduw*, ac nad yw eu bedydd yn eu rhwymo i fuchedd newydd. Os bydd i bobl i barnu eu hunain yn rhydd oddiwrth rwymedigaeth eu bedydd, oh pa mor noeth ydynt i brofedigaethau Satan! y maent etto i ddewis eu harglwydd, ac oh mor anhawdd iw perswadio'r cyfryw i gymmeryd jau Christ arnynt. Y mae'n hawsach plannu'r Efengyl ymhlith rhai fydd tan addunedau i Dduw nac ymhlith eraill; am hynny plannwyd yr Efengyl yn gyntaf ymhlith yr Iddewon, ac ymhlith y rhai or Cenhedloedd oedd tan addunedau ir gwir Dduw, megis yr *Eunuch*, a *Chornelius*, a *Lydia*, ac amryw eraill.

Y rhai fydd yn rhoddi tramgwydd yn enwedigol i bobl jevainge, gan eu perswadio nad yw eu bedydd yn eu rhwymo, a ddylent ystyried eu bod

yn achlusur o'u diniſtr hwynt. Ni a
1 Cor. 10. ddylem fod *yn ddiachos tramgwydd i'r*
22. *Iddewon, ac i'r Cenhedloedd hefyd, ac*
*i eglwys Dduw.*

9. Y mae bedyddio trwy drochi'r holl gorph mewn dwfr oer yn y gwledydd oerion hyn, yn dorriad or *chweched gorchymmyn, Na ladd.* Canys y mae'n ſicer na all llawer o gyrph tyner afiachus ddioddef eu trochi mewn dwfr oer yn amſer gayaf heb berigl o'i bywyd, yn enwedigol pan byddo hi yn rhew ac yn eira. Nid oes i ni demptio'r Arglwydd, gan dybied y bydd iddo ef wneuthur gwrthiau beunyddiol i gadw ein bywyd ni. Y mae efe yn arferol yn gweithio trwy foddion goſodedic. Yn y Cyfryw a-
Goſp. lib. chos a hwn y mae Mr. *Cradock* yn
p. 108. barnu y dylei'r Penſwyddog rwyſtro trochi pobl er niweid iw ddeiliaid.

Gwrthdd. Hwy a allant aros hyd yr haf.

Act. 2. 39, Att. Dangoſwch ryw ſcrythur am
41. hynny. Y mae rheol a ſiamplyr yſ-
& 8. 38. grythur yn y gwrthwyneb yn gor-
& 10. 48. chymmyn bedyddio rhai cyn gynted
& 16. 14, ac y gwneur hwynt yn ddiſcyblion.
15, 33.

10. Y mae'r ffurf hon o fedydd

trwy

trwy drochi pobl yn noeth, neu yn agos i noeth yn dorriad or seithfed gorchymmyn, *Na wna odineb.* Y mae'r gorchymmyn hwn yn gwrafun nid yn unig y weithred o odineb, ond pob achlysur, ac annogiad i hynny. Y mae pob gweithred aflednais ac anfoesol yn radd o odineb. Y mae calon dyn *yn dwylliodrus, ac yn ddrwg diobaith*, am hynny y dylid gochelyd pob achlysur o bechod. Syrthiodd Dafydd i odineb trwy ganfod Bathsheba yn ymolchi.

*Mat.* 5.28.

*Jer.* 17. 9.

2 *Sam.* 11. 2.

Fel hyn y gwelwn ni na fynnei Duw i bobl fod yn noeth yn y gynnulleidfa, neu yn hanner noeth, Canys nid oes dim llawer o wahaniaeth rhwng y ddau.

*Exod.* 20. 26. & 28. 42.

Eithr y rhai sy yn ail fedyddio trwy drochi pobl yn gyhoeddus, sy'n diosg y rhan fwya oi dillad. Y mae'r bedyddiwr ar hwn, neu'r hon a fedyddier yn agos i noeth: Yr hyn a all fod yn brofedigaeth i'r neb a fedyddier, ac ir rhai a fyddo yn edrych; ac os ni chraffa'r brofedigaeth ar y gweinidog, yr hwn sydd wedi amgylchu â chig a gwaed megis eraill, y mae'r cyfryw ymddygiad o flaen

cyn-

cynnulleidfa gymmysgedig yn dyfod âg ef tan wradwydd, ac yn gwneuthur addoliad Duw yn ddirmygus.

Eithr os rhaid trochi yr holl gorph mewn dwfr, fel y maent hwy yn dywedyd y rhai, pa reol sydd ganthynt allan o'r scrythur i fedyddio'r dillad gydâ'r corph? Mae'r ychydic ddillad sydd am danynt yn cael eu trochi yn y dwfr cyn trochi'r Corph, felly ac y maent yn gyntaf yn bedyddio'r dillad, a thrwy'r dillad yn bedyddio'r Corph. Y rhai a ddywedant mae hon yw'r unig ffordd o fedyddio, a ddylent ddangos scrythur eglur am dani.

Felly y gallwn weled pa ddrwg sydd yn yr arferiad hon o ail-fedyddio mewn oedran y rhai a fedyddiwyd eusus yn blant. Oh na bae Duw yn deffroi cydwybodau pobl'i fod yn deimladwy o'r pechodau hyn! Os wyti wedi gwadu dy fedydd cyntaf, *Cofia o ba le y syrthiaist, ac edifarhâ, a gwna y gweithredoedd cyntaf.* Adnewydda dy addunedau cyntaf, ac ymwrthod âth ail fedydd, yr hwn sydd yn dy wneuthur yn euog o gnifer o bechodau newydd, yn lle dy *olchi oddiwrth dy hen bechodau.*

PEN.

# PEN. XVIII.

*Yn dangos dyledswyddau rhieni tuag at eu plant, mewn perthynas iw bedydd hwynt.*

PE bae rhieni yn gwneuthur eu dyledswydd tuag at eu plant, ac yn dangos iddynt pa fodd i jawn ddefnyddio eu bedydd, fe fyddei mwy o dduwioldeb a sobreiddrwydd yn y wlad, ac anaml y fyddei y rhai a wadent eu bedydd. Gedwch imi ymresymu ychydic â chwi, y rhai ydych yn rieni i blant.

Onid oes gan eich plant chwi eneidiau gwerthfawr, iw cadw neu iw colli yn dragywydd? Onid yw'r eneidiau hyn yn rhy werthfawr iw colli? pe bae eich plant chwi yn colli un oi haelodau neu synhwyrau, oni flinei hynny eich meddyliau chwi, ac oni ddylei colledigaeth eu heneidiau hwynt i'ch blino chwi? yr ydych yn ofalus i gasclu cyfoeth iddynt, och! *Pa lesâd i ddŷn os ynnill ef yr holl fŷd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa*





Mat. 16. 26 *peth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid.* Guid peth ofnadwy ydyw i
Hos. 9. 13 rieni *feithrin plant ir lleiddiad*, i magu hwynt i fod yn etifeddion uffern? Os yw'r rhieni hynny yn greulon sydd yn lladd eu plant, ac yn danfon eu cyrph ir bedd, oh mor greulon yw'r rhai sy'n lladd eu heneidiau hwynt, ac yn eu danfon i uffern! Fe fydd llawer o blant yn melldithio eu rhieni annuwiol yn nhân uffern i dragywyddoldeb am esgeuluso eu heneidiau hwynt, a'u llygru drwy eu siamplau drygionus. Oh! na fyddwch yn foddion o *farwolaeth dragywyddawl* ir rhai a dderbyniodd fywyd amserol oddiwrthych chwi.

I. Edrychwch at eich hawl eich hunain yngh yfammod Duw. Os nid yw Duw yn Dduw i chwi nid ydyw yn Dduw i'ch had. Cymmerwch Dduw mewn gwirionedd i fod yn Dduw i chwi, rhoddwch eich hu-
Jer. 50. 5. nain iddo i fod yn bobl iddo. *Glynwch wrth yr Arglwydd drwy gyfammod tragywyddawl, yr hwn nid anghofir.* Er bod proffes gredadwy yn rhoddi hawl ger bron dynion, mae'n rhaid *gwirionedd oddi mewn* i roddi hawl ger bron Duw. II.

II. Pan aner hwynt ymbaratowch iw cyflwyno ai cyssegru i'r Arglwydd trwy'r ordinhâd sanctaidd o fedydd. Mae llawer yn bedyddio eu plant megis matter o Ceremoni a chwstwm yn unig, heb edrych at yr Arglwydd i *baratoi i gyfarfod ai Duw.* Gweithred bwysfawr iw rhoddi ein plant mewn Cyfammod i Dduw fel y dylem. Ni a ddylem fod mor ddifri ynghylch eu bedydd hwynt a phe baem ni i gael ein bedyddio ein hunain. Yr hyn y ddylei'r plentyn i wneuthur pe bae o oedran a synwyr sydd raid i chwi i wneuthur trosto ef. Megis y mae mammau, pan byddo'r plant yn glaf, yn cymmeryd y physygwriaeth eu hunain a ddylasei'r plentyn ei gymmeryd, fel y byddo i'r plentyn gael rhinwedd y feddyginiaeth yn llaeth ei fam. Felly gwnewch chwithau yr hyn a ddylasei'r plentyn ei wneuthur, pe buasei mewn oedran cyn ei fedyddio.

1. Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd am lygredigaeth gwreiddiol eich plentyn, am euogrwydd ei bechod, a'r digofaint sydd ddyledus am dano. Mae i ni achos mawr i

alaru

alaru fod ein plant yn derbyn pechod a thrueni gyda'r natur ddynol oddiwrthym ni. Pechod gwreiddiol fydd debyg i ryw fath o glefydau gwenwy-
2 Bren. 5. 27. nig fy'n myned ó Dad i blentyn, y Cyfryw oedd y gwahanglwyf gynt. Pe bae'r fath glefyd a hwn yn ymddangos ar dy blentyn, oni byddei yn achos o alar iti? pa faint mwy y dylit alaru am ei wahanglwyf yfprydol ef.

2. Bendithiwch yr Arglwydd am y Cyfammod Gras, ac am Ghrift Cyfryngwr y Cyfammod, ac am fedydd fêl y Cyfammod. Ai peth bychan yn dy olwg di yw helaethrwydd y Cyfammod, fod y Duw byw yn ymrwymo iti, ac ith hád pechadurus? Ai peth bychan ydyw iddo ef *dofturio*
Ezech. 16. 5, 6. 8, 9. *wrthynt pan oeddent yn ymdrybaeddu yn eu gwaed*, iddo eu *golchi â dwfr, je golchi eu gwaed oddiwrthynt, a myned mewn Cyfammod â hwynt.*

3. Gofodwch amfer ar neulldu i ddaerweddio ar yr Arglwydd, i faddeu pechod eich plentyn, i fancteiddio ei natur, ac i fendithio'r Ordinhâd o fedydd iddo ef. Gwelwch pa fodd y
2 Sam. 7. 25. mae Dafydd yn pledio addewidion Duw iw deulu. *Ac yn awr, o Ar-*

*glwydd*

*glwydd Dduw, cwpla byth y gair a leferaist am dy wâs, ac am ei dŷ ef, a gwna megis y dywedaist.*

4. Pan ydyw'r gweinidog yn bedyddio dy blentyn bydded iti arferu ffydd ynghyfammod Duw trosot dy hun, a thros dy blentyn. Dyro dy hun ath blentyn iddo *â'th holl galon, â'th holl enaid*, ac *â'th holl nerth.* Cyflwyna dy blentyn ir Arglwydd,

1. *Ar frŷs.* Nac oeda, fel y gwnaeth Moses i enwaedu ar ei blentyn, yr hyn a fu debyg i gostio ei fywyd iddo. Gwir yw, nid yw Duw yn ein rhwymo ni yr awrhon ir wythfed dydd, megis y rhwymodd ef yr Iddewon, etto ni ddylem ni oedi yn rhŷ hir. *Exod.* 4.24 *Vid.* Cypr. ad *Fidum* ep. 59.

2. *Yn llawen*, megis un fydd yn dywedidio ei blentyn ât Arglwyd Jesu Ghrist.

3. Yn gyhoeddus o flaen y gunnulleidfa. Dywed gydâ Dafydd *fy addunedau a dalaf i'r Arglwydd, yn awr yngwydd ei holl bobl ef.* Bedydd a Swpper yr Arglwydd dwy fél ydynt or un Cyfammod, fe ddylei'r naill fod mor gyhoeddus ar llall. *Pſ.* 116.14.

IV. Gwedi i chwi eu Cyflwyno

ei cyssegru ir Arglwydd, gwnewch gydwybod o'r dyledswyddau a ganlyn.

1. Parhewch mewn gweddi drostynt. Trwy ffydd a gweddi dwg hwynt at Ghrist bob dydd fel y byddo iddo eu bendithio.

Gweddia drostynt fel y gweddiodd Abraham dros *Ishmael*, *O na byddei*
Gen.17 18. *fyw Ishmael ger dy fron di.* Offrym-
Job 1. 5. modd *Job* boeth-offrymmau dros ei blant, yn ol eu rhifedi, offrymma dithau *weddiau ac erfyniau trwy lefain cryf a dagrau at yr hwn sydd abl iw hachub oddiwrth farwolaeth.*

Gweddia drostynt megis y Tad hwnnw yn yr Efengyl, *Arglwydd*
Mat.17.15 *trugarha wrth fy mab.* Neu fel y wraig o *Ganaan*, yr hon ni chymmerei neccád, nes i Ghrist ddywedyd
Mat.15 28 wrthi, *ha wraig, mawr yw dy ffydd, bydded iti fel yr wyt yn ewyllysio.*

2. Cyn gynted ac y delont i ddim mesur o ddealltwriaeth dyscwch iddynt wybodaeth yr Arglwydd. Fel hyn y dywed yr Apostl, *maethwch*
Eph. 6. 4. *hwynt yn addysc ac athrawiaeth yr Arglwydd.* Yr un modd y mae'r gwr doeth yn cyngori, *hyfforddia blentyn*

*ymhen*

*ymben ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedu â hi.* Yr oedd *Timothy* yn adnabod yr ysgrythurau er yn blentyn. *Dihar. 22. 6.* *2 Tim. 3. 15.*

Dyscwch ich plant adnabod, y Duw ai Creawdd hwynt, ac i ba ddiben y gwnaeth ef hwynt—— i adnabod y Cyflwr truenus y maent yntho trwy natur, ar ffordd o waredigaeth trwy'r Arglwydd Jesu Ghrist, a pha beth y mae ef yn ei ofyn ganthynt fel y caffont iechydwriaeth trwyddo ef, sef iddynt adnewyddu addunedau eu bedydd, gan edifarhau am eu pechodau, a chredu yn yr Arglwydd Jesu, ai dderbyn ef yn Arglwydd iddynt i lywodraethu arnynt.

3. Rhoddwch siamplau o fuchedd sanctaidd iddynt. Mae siamplau yn gweithio mwy arnynt na chyngorion. Y mae yn fwy naturiol iddynt ganlyn yr hyn a welont, na'r hyn a glywont. Os yw eich buchedd chwi yn ddrwg, ni wneyff eich athrawiaeth dda ddim llesâd iddynt. Ni chredant hwy byth fod perigl ar y ffordd y gwelont hwy chwi yn rhodio yn ddiofn ynthi. Mae'n naturiol i blant ganlyn eu rhieni, yn enwedigol yn yr

 hyn

Job 11.14. hyn ſy ddrwg. Am hynny na *thri-*
Pſ. 101. 2. *ged anwiredd yn eich lluestai, rhodiwch mewn perffeithrwydd eich calon o fewn eich tŷ*, fel y byddo i'ch plant weled eich gweithredoedd da, a gogoneddu eich tad yr hwn ſydd yn'y nefoedd.

4. Byddwch ofalus i goſod hwynt mewn teuluoedd duwiol pan elont allan o'ch teulu chwi. Beth a dal eich holl ofal chwi am danynt tra ſont gydâ chwi, os bydd i chwi wedi'r cwbl eu rhwymo hwynt ymmagl diafol, trwy eu goſod hwynt i ſyw mewn teuluoedd diofn Duw? Os ydych yn ei danſon i waſanaeth neu i brentiſiaeth, dewiſwch feiſtri cydwybodol iddynt, a gymmero ofal am eu eneidiau, yn gyſtal ac am eu cyrph. Os ydych i rhoddi mewn priodas,
1 Cor. 7.39 priodwch hwynt *yn yr Arglwydd.*
2 Cor. 6.14. *Na iauwch* monynt *yn anghymharus gydâ'r rhai digred.* Llygrwyd yr hén fyd gan briodaſeu anghymharus. Pan ymgyfathrachodd *meibion Duw* â *mer-*
Gen. 6. *ched dynion*, llanwyd y ddaiar â phechod, a diſethwyd hi â dwfr y diluw.

Fel hyn y gwelwch pa fath yw dyledſwyddau rhieni tuac at eu plant, os gwnewch hwynt yn gydwybodol

chwi

chwi a ellwch ddisgwyl bendith yr Arglwydd ar eich plant, i wneuthur eu bedydd yn effeithlawl iddynt.

---

## PEN. XIX.

*Am ddyledswyddau y plant a fedyddiwyd.*

I. BEndithiwch yr Arglwydd am ragorfreintiau eich bedydd. Y mae Duw wedi eich cymmeryd iw Gyfammod gydâ eich rhieni, Efe *a'ch rhagflaenodd chwi â bendithion daioni*, ac a'ch gwnaeth *yn agos*, y rhai oeddych trwy natur *ymhell*, *nid ydych chwi mwyach yn ddieithriaid a dyfodiaid*, *ond yn gyd-ddinasyddion âr saint, ac o deulu Dduw*.

1. Yr ydych chwi tan y rhaglunia-eth rasol honno sydd yn gwilio tros eglwys Dduw. Canys yr ydych yn aelodau o honi. *Isa.*27.2,3. *Ps.*125.2. *Zech.* 2.5. Y mae rhagluniaeth Duw yn fwy neullduol tuac at ei eglwys na thuac at eraill sydd oddi allan. Yr ydych chwi tan y rhagluniaeth hon, ac nid tan y rhagluniaeth gyffredinol

honno ſydd yn perthyn ir byd annuwiol.

2. Y mae i chwi ran yn y gweddiau beunyddiol a oſodir i ſynu dros eglwys Dduw. *Pſ.* 72. 15. & 51.18. *Gal.* 6. 16. *Pſ.* 122.6, 7-- & 137. 5, 6. Pe buaſech heb eich bedyddio, chwi a ſuaſech oddi allan, ac felly heb ddim rhan yn y gweddiau hynny; eithr o herwydd eich bod trwy fedydd wedi eich derbyn yn aelodau o'r Eglwys weledig, y mae miloedd o weddiau yn cael eu tywallt at yr Arglwydd droſoch chwi beunydd: a phwy a all draethu pa leſád a dderbyniaſoch chwi, neu a ellwch chwi dderbyn trwyddynt? Er nad oes tryſor o haeddedigaethau, y mae tryſor o weddiau yn eglwys Dduw.

3. Fel yr ydych chwi yn aelodau o eglwys Dduw y mae i chwi hawl neullduol ir Addewidion. Etifeddiaeth yr eglwys yw'r Addewidion, y maent yn perthyn iddi hi ac nid i eraill. Fel yr oedd yr Addewidion gynt yn perthyn i eglwys weledig yr
*Rhuf.* 9. 4. Iddewon. Felly y maent yn eiddo'r eg-
*Gal.* 4. 28. lwys weledig o'r Cenhedloedd. Yn awr er nad yw holl aelodau'r eglwys

weledig

1687

weledig yn gyfrannogion o ras yr A- *Heb.* 4. 1.
ddewidion, yr hwn a roddir yn unig ir Etholedigion, etto y mae holl aelodau yr Eglwys weledig a mwy o hawl ir gras hwn, nac eraill sydd oddi allan, eu bai eu hunain ydyw os gwrthodant ef.

II. Ceisiwch ddealltwriaeth eglur o rwymedigaeth ac adduned eich bedydd. Dyscwch gan eich rhieni, a Chan weinidogion i adnabod arwyddocâd a diben eich bedydd. Yr ydych wedi eich rhoddi i Ghrist, ac nid ydych yn eiddo chwi eich hunain. Yr ydych wedi ymrwymo i ymwrthod â Diafol ac ai holl weithredoedd, i ymwrthod â rhodres a gorwagedd y byd drwg presennol, i ymwrthod â gwiniau ac a chwantau llygredic y Cnawd: Yr ydych wedi ymrwymo i gymmeryd Duw'r Tad i fod yn Dduw, ac yn ddiben eithaf i chwi, i gymmeryd Duw'r Mab i fod yn Jachawdur ac yn Arglwydd i chwi, a Duw yr yspryd glan i fod yn sancteiddiwr, yn Athro ac yn Ddiddanudd i chwi. Yr ydych wedi cymmeryd ei Ogoniant ef i fod yn ddiben i chwi, ei air ef i fod yn rheol i chwi, ai bobl

ef

ef i fod yn gyfeillien i chwi ymhob cyflwr, i ddioddef adfyd yn hytrach gydâ hwynt, na chael mwyniant pechod dros amser.

III. Cyn gynted ac y deloch i oedrân a dealltwriaeth adnewyddwch eich Cyfammod â Duw. Derbyniodd yr Arglwydd yn ei gyfammod grasol ffydd eich rhieni drosoch chwi yn eich mebyd, eithr yn awr yr ydych mewn oedran, oni fydd i chwi eich hunain gredu, ac edifarhau, a chymmeryd Duw i fod yn Dduw i chwi, ni wneyff eich bedydd lesâd mwyach. Rhoddwyd chwi gan eich rhieni ir Arglwydd, oh rhoddwch eich hunain iddo. Dywedwch gydâ merch Jephtha, Barn. 11. 36. *Fy nhad, os agoraist dy enau wrth yr Arglwydd, gwna a mi yn ol yr hyn a aeth allan o'th enau.* Mi a gyflawnaf adduned fy rhieni. Ni thyrr Duw ei Gyfammod â Chwi, oddi eithr i chwi dorri yn gyntaf âg ef. Cymmer

Dihar. 27. 10. gyngor y gwr doeth. *Nac ymado â'th gydymaith dy hun, a chydymaith dy Dad:* Duw yw'r Cydymmaith, ar Cyfaill goreu.

Na oeda'r ddyledswydd bwysfawr

hon.

hon. *Cofia dy Greawdr yn nyddiau dy jeuengctid*, Ac efe ath gofia di yn nyddiau dy henaint, sef *y dyddiau blin, yn y rhai y dywedi, nid oes i mi ddim diddanwch ynthynt.* Pan ballo pob diddanwch bydol, efe fydd Duw dy jeuengctid yn Ddiddanudd tragywyddawl iti. *Preg.* 12.1.

IV. Byddwch fyw yn Addas o gyfammod eich bedydd. Na fydded eich calon yn *anffyddlon yn ei gyfammod ef. Nid ydych eiddoch eich hunain, gan hynny gogoneddwch Dduw yn eich corph, ac yn eich yspryd, y rhai fydd eiddo Duw.* Golchwyd chwi yn eich bedydd, na ddiwynwch monoch eich hunain drachefn. Glynwch wrth yr Arglwydd, ac nac *ymadewch â'ch cariad cyntaf.* Rhodiwch yn wiliadwrus, ac yn ddiesceulus, gan brynu'r amser. *Ps.* 78. 7. 1 *Cor.* 6.20

Ni wneuff ein bedydd lesâd i ni, oni *ymattebwn gydwybod dda tuac at Dduw.*

V. Na roddwch le i brofedigaethau i wadu eich bedydd cyntaf. Os bydd i neb i'ch temptio i hynny, gofynnwch iddynt y Cwestiwnau sy'n canlyn.

1. Go-

1. Gofynnwch iddynt, a allant hwy brofi drwy'r scrythur i Dduw fwrw plant y ffyddloniaid allan or Cyfammod gras. Dangosen scrythur eglur am hyn. Os ni fwrwyd hwy allan or Cyfammod, y mae bedydd, fel y Cyfammod yn perthyn iddynt.

2. Gofynnwch iddynt, a allant hwy ddangos or scrythur, fod Christ wedi dyfod ir byd i wneuthur cyflwr plant ei bobl yn waeth nac yr oedd cyn ei ddyfodiad. Os collasont ragorfreintiau eu mebyd y maent yn waeth eu cyflwr.

3. Onid plant bychain oedd y merthyron cyntaf a gollodd eu gwaed yn achos Christ? Os anrhydeddodd Duw hwynt i fod yn brif-dystion dros Christ, gan gael eu *bedyddio â gwaed*, a bydd iddo neccau iddynt *fedydd dwfr?*

*Mat.* 2.16.

4. Os yw bedydd plant yn ddrwg, pa ham y mae'r Cythrael yn temptio Witches neu ddewiniaid i wadu'r bedydd hwnnw? a beth yw'r achos na all Satan gael dim awdurdod arnynt nes iddynt ymwrthod âi bedydd, ac ar ol hynny nad oes ganthynt ddim nerth i wrthwynebu ef mwyach?

See Perk. of *Witchcraft, Vol.* III. *p.*640. *And* Mather, *and* Baxter *of Witchcraft.*

Fel

Fel yr addefodd llawer o honynt.

5. Gofynnwch iddynt, a roddant ſiccrwydd i chwi y byddwch yn Griſtnogion gwell trwy dderbyn eu bedydd hwynt. Os ni byddwch well oi blegid, beth a dal ef? Os dywedant y byddwch well, Attebwch, eich bod yn gweled amryw o honynt hwy yn mynd yn waeth ar ol eu hailfedyddio.

1. Er eu bod yn aelodau o gynnulleidfa yn rhodio yn ol rheol yr Efengyl cyn iddynt gael eu hail fedyddio, y maent ar ol hynny yn torri undeb y Corph yr oeddent yn aelodau o honaw, ac *yn eu didoli eu hunain*. Bedydd ordinhad o undeb ydyw, eithr ail fedyddio ſydd yn torri undeb eglwyſi.

2. Cyn iddynt gael eu hail fedyddio yr oeddent yn fwy Cariadus yn eu barn, eithr ar ol hynny y maent yn arferol o farn gaeth a chyfyng, yn barnu yn galed ac yn anghariadus am y rhai nid ydynt oi ffordd hwynt. Cariad yw ſylwedd y Grefydd Griſtnogol. Ac am hynny nid o Dduw y mae'r Opiniwnau hynny ſydd *yn diffoddi* Cariad. Nid ydwyf yn dywedyd

1 *Cor.* 13. 1, 2, 3.

wedyd

wedyd am bawb o honynt fod eu cariad at y brodyr yn oeri pan yr ailfedyddier hwynt, eithr am y rhan fwyaf; y mae *rhinwedd gras* Duw mewn rhai o honynt yn *gorchfygu rhinwedd yr Opiniwn hwn*, ac yn eu cadw rhag fyrthio i'r un *brofedigaeth o angbariad* ac eraill.

3. Y mae eraill wedi eu hail-fedyddio yn cyfeiliorni ymhellach, ac yn fyrthio o'r naill amryfusedd ir llall, Y mae rhai yn gofod i fynu ewyllys rhydd, eraill yn gwadu'r Sabbath Christnogol, eraill yn erbyn Catecheifio plant, *&c.*

Ceifiwch attebion eglur ganthynt ir Cwestiwnau hyn, a gwnewch iddynt brofi'r Cwbl trwy'r fcrythur lan. Duw'r heddwch a'ch fefydlo chwi yn y gwirionedd prefennol, fel y dygoch ffrwythau addas o'ch bedydd.

*DIWEDD.*

mae'n arwydd rhy sicr o'u bod yn credu, naill ai nad oes gan

Ll F'lwyddun y singioedd
Ysgraff Conway un mil
Chwech chant a ffedwar igian
a saith 1687 a ffump a deigian oedd
O bobol 45 ynddi heb blaw cyssyla